Y

# *Gofadail Fethodistaidd:*

SEF,

# PREGETHAU

GAN

NIFER O WEINIDOGION YMADAWEDIG
Y METHODISTIAID CALFINAIDD.

AIL GYFROL.

CYHOEDDEDIG GAN DAVID WILLIAMS, 2, VALLEY VIEW,
GYFFIN, GER CONWY.

MDCCCLXXXIV.

## AT Y DARLLENYDD.

---

NID oedd un bwriad genyf i ddyfod âg Ail Gyfrol o'r GOFADAIL allan, a hyny o herwydd dau beth yn neillduol. Yn gyntaf, diffyg defnyddiau priodol a theilwng i alw sylw y wlad atynt. Yn ail, y llafur a'r gwroldeb diflino sydd raid ei arfer er gwneyd i lyfr Cymraeg dalu ei ffordd, a chadw y cyhoeddwr allan o helbul a cholled. Y mae'r anturiaeth yn bwysig ar amryw ystyriaethau, a'r costau yn fawr.

Ond yn ddamweiniol iawn, ryw brydnawn tua blwyddyn a hanner yn ol, aethum i dalu ymweliad â'm hybarch gymydog S. R., ac yn nghwrs yr ymddyddan dangosodd i mi gyfrol o hen bregethau yr oedd newydd ei chael. Mewn llaw têr yr oeddynt, ac wedi eu dyddio dros dri-ugain mlynedd yn ol; ac wrth ei chwilio gwelwn enwau Cymdeithasfäoedd y Bala, Llanidloes, Machynlleth, &c., &c., ynghyd ag enwau anwyl a theuluaidd uwch ben y

pregethau, megys Ebenezer Morris, John Evans, John Elias, y ddau Richards, Michael Roberts, Roberts o Amlwch, H. Rees, a llu mawr eraill o enwogion y pulpud yn y dyddiau hyny. Gofynais iddo a oedd rhywun yn deall ac yn medru deongli y fath ysgrifen yn awr; a dywedodd yntau ei fod yn meddwl y gallai ef, gan ei fod yn cydaddysgu y gelfyddyd ddefnyddiol hon gyda y gŵr ieuanc a ysgrifenodd y pregethau gwerthfawr hyn tuag wyth mlynedd a thriugain yn ol. Gofynais iddo a fuasai yn adysgrifenu un neu ddwy o honynt er gweled beth oeddynt, ac felly y gwnaeth; a chredais wedi eu darllen y byddai yn gamwedd ynof os na wnawn ymgais er i filoedd Cymru gael mwynhâu y pregethau nerthol fu yn siglo y wlad drwyddi, gan bregethwyr na welodd un oes eu rhagorach mewn eneiniad ac efengyleiddrwydd—pob gair yn taro i'r byw. Y mae y Patriarch S. R. wedi cyflawni ei orchwyl yn ddeheuig a manwl—gwaith nas gallasai neb arall ei wneyd yn awr, gan mai llaw fèr ddyeithr i'r oes hon ydyw; a gwnaeth y gwaith yn rhagorol, er ei fod yn 84 mlwydd oed, a'r ysgrifen yn fân.

Y ffordd y daeth efe i afael â hwy ydoedd hon. Yr oedd ar daith yn Sir Drefaldwyn, ac yn treulio prydnawn yn nhŷ boneddwr yr hwn sydd gâr iddo, a phan yn ei lyfrgell gyfoethog dygodd y boneddwr allan y cyfrolau hyn

iddo—saith mewn nifer; a phan y deallodd y gallai S. R. eu darllen rhoddodd hwy iddo i wneyd fel y gwelai yn oreu â hwynt. Brawd oedd y gŵr ieuanc galluog a thra chrefyddol a ysgrifenodd y pregethau hyn i'r boneddwr uchod, a mab i Mr. Howell o Lanbrynmair, yr hwn oedd yn aelod parchus gyda y Methodistiaid. Y mae y gŵr ieuanc yr hwn a ddilynodd y Cymanfäoedd er gwrando y pregethau hyn yn ei fedd er ys mwy na 55 o flynyddau. Paham y bu y trysorau gwerthfawr hyn mor guddiedig am gyhyd o flynyddau nis gallwn ddeongli; gan y buasai colli un eto o'r dolenau, sef y gŵr parchedig a'u hadysgrifenodd, yn eu gwneyd yn ddiwerth i'r byd.

Gallaf ddyweyd yn ddibetrus mai nid elw oedd y prif gymhellydd i gyhoeddi y gyfrol ddiweddaf hon i'r byd, ond cariad at achos yr efengyl a pharch diffuant at goffadwriaeth y tadau anwyl fu yn arloesi ein gwlad. Nid oes un petrusder yn fy meddwl na dderbynir hon eto fel y rhai a gyhoeddais o'i blaen gan filoedd darllenwyr Cymru, a phrif drefi Lloegr, lle y mae Cymry crefyddol yn mynwesu parch diffuant i enwau peraroglaidd sydd "wedi marw" trwy y gyfrol hon "yn llefaru eto."

Dylwn hysbysu fod yma dair o bregethau eraill a gawsom gan gyfeillion caredig, sef un bob un i Mr. William

Charles, John James, a David Morgan, Cefn; a dwy i'r Parch. William Jones, Dolyddelen gynt, ond yn awr Wisconsin, America. Credwn y bydd yn dda gan gannoedd o hen ffryndiau Mr. Jones eu gweled, am ei fod yn gystal a marw i ni yr ochr hon i'r Werydd. Y cyhoeddwr sydd yn gyfrifol am y titlau uwch ben y pregethau, a'r nodiadau byrion am danynt, pa rai, hyderir, a fyddant yn dderbyniol gan lawer.

Dylwn eto wneyd yn hysbys na bu yr un o'r pregethau hyn yn argraffedig o'r blaen.

Cymeraf y cyfleusdra hwn i ddiolch yn gynhes i'm hanwyl gydwladwyr am y derbyniad croesawgar a gafodd y cyfrolau eraill a gyhoeddais. Ac yr wyf yn teimlo yn ddiolchgar i'r Arglwydd am iechyd a bywyd, ac am gael bod yn offeryn yn ei law i'w dwyn i afael teuluoedd ein gwlad. Boed bendith y nef arnynt i bawb a roddo dderbyniad iddynt.

DAVID WILLIAMS.

*2, Valley View,*
*Gyffin, Conwy.*

# CYNNWYSIAD.

---

# *Y Gofadail Fethodistaidd.*

## PREGETH I.

### RHYFEDDODAU TREFN Y PRYNEDIGAETH.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN EVANS, LLWYNFFORTUN, YN 1822.*

DADGUDDIAD xii. 1: "A rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef; gwraig wedi ei gwisgo â'r haul, a'r lleuad dan ei thraed, ac ar ei phen goron o ddeuddeg seren."

RHYFEDDOD mawr, neu arwydd mawr, a welwyd yn y nef. Y mae llawer o lyfr y Dadguddiad yn brophwydoliaethol mewn cysylltiad â helyntion teyrnas Crist o amser

* Ganwyd awdwr y ddwy bregeth ganlynol yn Hydref 1779, mewn lle a elwir Cwm Gwen, yn mhlwyf Llanfihangel-Ieroth, Sir Gaerfyrddin. Enw ei dad fel yntau oedd John Evans, ei fam Rachel. Perthynent i'r Annibynwyr yn Pencader, ymha eglwys hefyd yr oedd ei dad yn ddiacon. Cafodd fel Timotheus ei fagu yn ngeiriau y ffydd gan fam dduwiol. Aeth gyda ei dad pan yn 14 oed i wrando yr efengylydd o Langan, a theimlodd yn fawr dan ei weinidogaeth. Mewn lle o'r enw Gwaenifor yr ymunodd gyntaf â'r Trefnyddion Calfinaidd. Aeth wedi hyny i'r New Inn. Ac wrth ei gyflwyno i ofal y frawdoliaeth yno, dywedai ei dad, "Dyma efe i chwi, mi fethais yn lân a gwneyd *Disenter* o hono." Dywed ei fywgraffwyr fod gan Mr. Evans bob peth at ei wneyd yn bregethwr poblogaidd; fod yr olwg arno o ran y dyn oddiallan yn nodedig felly—yn ŵr lled dàl, lluniaidd o ran ffurf, a thra boneddigaidd o ran ei ddull, a'i wyneb yn brydferth a deallgar. Yr oedd ganddo hefyd un o'r lleisiau mwyneiddiaf a fu erioed gan ddyn, a phob amser dan ei reolaeth yn berffaith; a'i ddawn yn ffrydio fel afon ar wely esmwyth; a'r cwbl yn cael eu heneinio oddiwrth y Sanctaidd hwnw. Bu farw Hydref 6, 1847, wedi bod yn gwefreiddio Cymru am dros hanner can' mlynedd.

yr apostolion hyd ddiwedd y byd. Y mae yn rhoddi hanes yn gyntaf am eglwys Crist o flaen yr erlidigaethau, wedi hyny am dani dan yr erlidigaethau, ac wedi hyny am dani ar ol yr holl stormydd a'r erlidigaethau, yn iach ac yn ddiangol, ac yn ddedwydd ar fryniau gwynfyd. Y mae yn ei dilyn drwy y llwyddiant mawr fydd arni yn amser y mil blynyddoedd, pryd y bydd Iesu Grist trwy ei Ysbryd yn teyrnasu dros holl gonglau y ddaear, pan y bydd holl wledydd y byd yn ymostwng i'w lywodraeth, a'r holl ddaear wedi cael ei llenwi â gogoniant yr Arglwydd. Wedi hyny y mae yn ei hebrwng i'r drydedd nef. Ar ol ei dilyn drwy dymmor y mil blynyddoedd, y mae yn darlunio y dirywiad cyffredinol fydd oddiwrth y wir grefydd. Bydd gelyniaeth y byd y pryd hwnw mor danbaid, fel y bydd iddynt ymgasglu at eu gilydd ac amgylchynu y ddinas sanctaidd, sef eglwys Dduw, ar ol i'r tân sanctaidd beidio effeithio a diffodd; ac yn ystod yr amser hwnw yr wyf yn meddwl y daw Mab y dyn yn ngherbyd ei ddigofaint i roddi y byd i gyd ar dân.

"Rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef." Mae'n debyg fod y geiriau yn arwyddo amryw bethau. Y mae yma son am briodferch yr Arglwydd Iesu: "Gwraig wedi ei gwisgo â'r haul." Peth rhyfedd yw fod eglwys Dduw yn cael ei chyffelybu i wraig. "Tyred," meddai yr angel wrth Ioan mewn lle arall, "ac mi a ddangosaf i ti y briodferch, gwraig yr Oen;" ac y mae yn ei arwain ymlaen, ac yn dangos iddo y briodferch. Y mae yn beth rhyfedd fod Mab Duw wedi dyfod mor agos at ei eglwys â gwisgo ei natur er dyfod i undeb cyfammodol â hi; ac y mae yn undeb a ddeil. Deil yn angeu, ac yn y farn, ac i dragywyddoldeb.Ië, rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef, gwraig wedi ei gwisgo â'r haul. Wrth y nef yn y lle hwn y mae rhai yn golygu yr ymherodraeth Rufeinig, ac felly mai peth rhyfedd oedd gweled eglwys i Grist yn yr ymherodraeth hono. Yr oedd yr ymherawdwr yn elynol iawn i Gristionogaeth, ac yr oedd

Rhufain y pryd hyny yn feistres ar y byd i gyd. Yr oedd yn rhyfedd i weled eglwys yn fyw dan grafangau y llew rhuadwy Nero. Y mae Paul yn ei Epistol at y Rhufeiniaid yn dymuno yn fawr cael ei gofio at y rhai hyny yn Rhufain oeddynt fel ŵyn diniwed yn ffau y llew. Y mae yn gorchymyn cael ei gofio at y rhai oedd yn nheulu Cesar. Yr oedd yn cofio at bawb o honynt, ond yn enwedig at y rhai hyny oeddynt yn nheulu Cesar. Peth rhyfedd iawn oedd fod neb o honynt yn nheulu Cesar. "Rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef;" hyny yw, yn ol barn rhai, bod gan Grist ei bobl yn y fan lle yr oedd nefoedd y byd y pryd hyny. Ond nid dyna wyf fi yn feddwl a olygir yma. "Rhyfeddod fawr a welwyd yn y nef;" hyny yw, dan yr oruchwyliaeth a fydd. Y mae teyrnas nef mewn amryw fanau yn arwyddo teyrnas gras yn yr oruchwyliaeth a fydd. Ni chlywsoch sôn erioed am y fath ryfeddod a bod gwraig wedi ei gwisgo â'r haul. Gwelais i ar ddydd genedigaeth brenin Lloegr rai wedi eu gwisgo yn ardderchog iawn. Y mae llawer yn drwsiadus iawn pan y byddys yn cadw gwyl dydd genedigaeth y brenin; ond nid oes neb y pryd hyny wedi eu gwisgo â'r haul; ond y mae eglwys Crist wedi cael ei gwisgo â'r haul. Y mae naturiaethwyr yn dyweyd am ein haul ni ei fod filoedd o weithiau yn fwy na'r ddaear, ac am hyny nid wyf yn meddwl mai yr haul naturiol a olygir yma, ond mai Crist, Haul y Cyfiawnder, a olygir. "Haul y Cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw, a meddyginiaeth yn ei esgyll, a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megys lloi pasgedig." Mab Duw ydyw yr Haul. "Haul a tharian yw yr Arglwydd Dduw; yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant."

"Gwraig wedi ei gwisgo â'r haul." Cyfiawnder Crist ydyw y wisg wèn hardd y mae yr eglwys wedi ei gwisgo â hi. Y mae rhai yn barnu mai Crist ei hun yw y wisg; ac y maent yn seilio eu barn ar yr adnod hono, "Yn

yr Arglwydd y mae i ni gyfiawnder;" ond yr wyf fi yn barnu mai nid ei Berson, ond yr hyn a wnaeth, ydyw gwisg ei eglwys. Gan iddo ddyfod i ddyoddef, fe weithiodd wisg hardd iddi, fel na wêl cyfiawnder na brycheuyn na chrychni yn ei gwisg. Nis gallasai neb llai na'r Person a weithredodd y cyfiawnder fod yn gyfiawnder i wisgo yr eglwys. "Gwraig wedi ei gwisgo â'r haul." Y wraig yw yr eglwys—y druanes lom, dlawd, noeth, aflan, ag oedd yn gorwedd yn ei gwaed; a dyna y pryd yr aed i gyfammod â hi, pan olchwyd hi â halen; a dyna fel y gwneir eto. Rhyfeddod a welwyd yn y nef—sef dan oruchwyliaeth y Nef—"gwraig wedi ei gwisgo â'r haul." Y mae dau beth i'w deall wrth yr Haul yn y man yma. 1. Cyfiawnder cyfrifol y Cyfryngwr yn wisg am dani. 2. Sancteiddrwydd y Cyfryngwr ynddi. Y mae Iesu fel Cyfryngwr yn drysordŷ pob gras; ac fel y mae yn drysorfa pob gras, y mae yn esiampl o ras. "O'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, a gras am ras." Y mae y Parchedig William Williams wedi canu am oludoedd rhyfedd ei ras yn felus iawn:—

"Dyma ddyfnder o drysorau,
Dyma ryw anfeidrol rodd,
Dyma Wrthddrych ges o'r diwedd
Sydd yn hollol wrth fy modd;
Nid oes syched arna' i mwyach
Am drysorau gwag y byd,
Pob peth gwerthfawr a drysorwyd
Yn fy Mhrynwr mawr ynghyd."

Heblaw hyny, y mae Iesu, nid yn unig yn drysordŷ pob gras, ond y mae hefyd yn siampl o bob gras. Ffydd o'r un natur ag oedd yn y Cyfryngwr raid i ninnau gael; gobaith o'r un natur, amynedd o'r un natur, cariad o'r un natur, raid i ninnau gael, neu fod hebddynt. Rhaid i ni gael grasau efengyl Crist, neu farw yn dlawd hebddynt. Os cawn y grasau hyn, gellir dywedyd am danom, Dyma aelodau o'i

gorff Ef. Pa fodd yr wyt ti, Paul, yn gallu dywedyd felly am y saint? Yr wyf yn eu gweled yn gymhwys fel Efe—ar ei ddelw. Cymerwn y gair haul yn y lle hwn i arwyddo y cyfiawnder cyfrifol sydd yn wisg am yr eglwys, ac nid y wisg sydd ynddi, er fy mod yn meddwl fod y gair yn arwyddo pob un o'r ddau; ac nid yn unig y mae wedi ei gwisgo â'r haul, ond y mae y lleuad dan ei thraed. Wrth y lleuad y meddylir,—

1. Yn ol barn rhai, yr hen oruchwyliaeth. Yr oedd y seremonïau yn debyg i'r lleuad. Y mae y lleuad yn diflanu pan ymddangoso yr haul; felly y darfu i'r cysgodau a'r seremonïau ddiflanu pan ymddangosodd Haul y Cyfiawnder. Wedi i'r Haul godi nid oedd eisieu yr hen oruchwyliaeth. Yr oedd yn dda cael y cysgodau cyn cael y Sylwedd; ond pan gafwyd y Sylwedd, nid oedd eisieu y cysgodau mwy. Nid oes neb mor ffol ag yr äi i chwilio am y ser ganol dydd. Y mae un haul yn well na chan' mil o honynt hwy. Felly y mae Crist â'i un aberth yn well na chan' mil o'r hen seremonïau. Hi fu yn hir iawn ar ei chalon ac ar ei hysgwydd; ond y mae yn awr wedi myned dan ei thraed. Bydd yn ddychrynllyd iawn arnom ni os byddwn ar ol trwy ein hanghrediniaeth, tra yr aeth miloedd o hen saint i wynfyd a gogoniant yn ngoleuni y lleuad. Gochelwn fyw heb ffydd yn ngoleu yr Haul, onidê bydd yn dywyll iawn arnom wrth farw.

2. Barna eraill mai wrth y lleuad yn y lle hwn y meddylir y byd hwn. Y mae y ddaear a'i mwyniant dan draed gan y duwiol. Y mae yn gobeithio fod ei enw da a'i barch a'i fri yn nghadw tu draw i'r llèn yn y nefoedd. Yno y mae ei drysor, ei anrhydedd, ei fri, a'i anwyliaid:

"Pa niwed, er i'r rhai 'n i gyd
Gael eu diystyru gan y byd?
Eu henw da, a'u parch a'u bri,
Sy 'n nghadw yn y nefoedd fry."

Y mae pethau y byd presennol wedi myned yn ail bethau ganddynt, ac y mae Crist yn bob peth ganddynt. Y mae y lleuad wedi myned dan eu traed. Fe geisiodd y diafol roddi y lleuad ar dy galon ac ar dy ben, ond y mae wedi myned dan dy draed. Nid dan wawd y greadigaeth y gedy Duw ei bobl. Diolch am y gobaith y cawn ni fyned i ardal lle na bydd eisieu wrth oleu y ser a'r lloer; am hyny yr ydym yn rhoddi y lleuad dan ein traed.

Hefyd y mae ei phen yn hardd iawn: dan goron o ddeuddeg seren. Y mae ei gwisg yn anrhydeddus iawn, a'i rhodiad yn hardd; y mae y lleuad o dan ei thraed; ac y mae ei phen yn anrhydeddus iawn dan goron o ddeuddeg seren. Anrhydedd mawr iddi ydyw cadw ei thraed rhag llithro i athrawiaethau cyfeiliornus. Y mae hyny yn goron ar ben yr eglwys. Y mae yn dal yr hyn sydd ganddi, fel na ddygo neb ei choron. Ymofynwn am ddal yn iach yn y ffydd hyd farw, fel na ddygo neb ein coron. Ond yn ol fy marn i, nid y goron yna a feddylir yma, er fy mod yn golygu y gall hyna gael ei gynnwys yn y geiriau. Ond, yn fwyaf neillduol, yr wyf yn meddwl fod y deuddeg seren yn arwyddo athrawiaeth y deuddeg apostol; a bod y deuddeg seren yn goron ar ben yr eglwys yw bod ei golygiadau yr un âg athrawiaeth y deuddeg apostol. Y mae eraill yn barnu mai grasau yr Ysbryd Glân a feddylir wrth y goron hon. Y mae pethau ardderchog iawn yn bod weithiau mewn coronau, neu mewn gwisgoedd gwynion. Dywedir i frenines unwaith ddyfod i'r deyrnas hon â pherl gwerth dau can' mil o bunnoedd yn ei choron neu ar ei gwisg. Pe buasai deuddeg o'r rhai hyny ar ei gwisg, buasai ei gwisg yn ddrudfawr a gwerthfawr iawn. Ond pa fodd bynag am hyny, y mae gwisg gwraig yr Oen yn fil mwy ardderchog; athrawiaethau gras, y rhai a bregethodd yr apostolion; hen athrawiaeth y prophwydi ac athrawiaeth newydd yr apostolion, ac athrawiaeth holl wir weinidogion Duw o ddyddiau Noah, pregethwr

cyfiawnder, hyd y dydd diweddaf. Dyma goron anrhydeddus iawn i'r eglwys. Y mae ein testun yn awgrymu amryw bethau:

I. Fod rhyfeddodau mawrion yn nhrefn y Prynedigaeth.

II. Fod Eglwys Dduw yn cael ei chyffelybu i Wraig.

III. Ei bod wedi cael ei gwisgo a'r haul, sef cyfiawnder yr Ail Adda.

IV. Fod y lleuad, sef y byd gwael hwn, dan ei thraed.

V. Fod ar ei phen goron o ddeuddeg seren, sef yr Athrawiaethau a bregethwyd gan y deuddeg apostol.

Ond ar y ddau fater cyntaf yr wyf am sylwi yn bresennol, sef—Fod rhyfeddodau mawrion yn perthyn i drefn y Prynedigaeth, a bod Eglwys Dduw yn cael ei chyffelybu i Wraig.

I. Fod rhyfeddodau mawrion yn y Prynedigaeth. Sylwaf,

1. *Fod y cwbl y mae Duw yn ei wneyd yn rhyfedd.* Ni fedr dwylaw hollalluog Pensaer celfydd yr holl fydoedd wneuthur dim heb fod yn rhyfedd. Pa faint bynag o bethau a wnaeth y cywreiniaf o feibion dynion, pa faint bynag o bethau rhyfedd a wnaethant, ni roddasant fodolaeth i ddim nad oedd yn rhyw ddull wedi bod o'r blaen. Treio gwneyd rhyw *figures* newydd y maent hwy ar hen bethau oeddynt o'r blaen; ond ni chafodd Ef ddim defnydd; o ddim y gwnaeth efe bob peth. Gwnaeth filoedd o fydoedd mawrion heblaw ein byd ni; onidê, y mae yr apostol Paul a'r apostolion eraill i'w galw i gyfrif. Rhyfeddodau mawrion yw holl bethau natur; ond pa faint mwy natur ei hun? Ofnadwy a rhyfedd ein gwnaed, a'n henaid a ŵyr hyny yn dda. Y mae yn rhyfedd iawn bod y fath

fodau â ni mewn bod. Fe luniodd filoedd a fyddant yn mynegu ei foliant wedi i amser ddarfod. Ymgeisiwn am fod o'u nifer.

2. *Yn nhrefn y Prynedigaeth y ceir y rhyfeddodau mwyaf a amlygwyd erioed.* Rhyfeddodau rhyfeddol iawn fu ar ddydd y Pentecost. Pedr, yr hwn oedd wedi bod, ychydig amser o flaen hyny, yn gwadu ei Feistr, oedd y prif efengylwr. Y mae yn debyg eu bod wedi clywed y gwynt yn chwythu, a'u bod yn dechreu siarad â thafodau, fel yr oedd pawb o bob cenedl yn gallu deall y pregethu cyn i Pedr fyned i'r pulpud. Yr oedd rhai yn meddwl ac yn dyweyd eu bod wedi meddwi; ond atebodd Pedr ei bod yn rhy fore iddynt fod wedi meddwi—nad oedd ond y drydedd awr o'r dydd; a rhesymodd mai cyflawniad ydoedd yr olygfa y prophwydwyd am dani gan Joel: "A bydd ar ol hyny y tywalltaf fy Ysbryd ar bob cnawd; a'ch meibion chwi a'ch merched a brophwydant, a'ch gwŷr ieuainc a welant weledigaethau, a'ch hynafgwyr a freuddwydiant freuddwydion; ac ar y gweision hefyd ac ar y morwynion y tywalltaf fy Ysbryd yn y dyddiau hyny." Ac argyhoeddwyd tair mil yn oedfa y bore, a dwy fil yn oedfa y prydnawn. Llefai y gynnulleidfa, Y bobl hyn sydd yn dywedyd i ni yn ein hiaith ein hunain am fawrion weithredoedd Duw, sef am ryfeddodau trefn y prynedigaeth a gaed trwy y gwaed a lifodd ar Golgotha ychydig amser cyn hyny. Dyma y gweithredoedd mwyaf a wnaeth Duw erioed. Nid yw gweithredoedd y greadigaeth a symudiadau Rhagluniaeth ond fel drysau yn agor er gollwng gwaith mawr y prynedigaeth i mewn, i godi dynion o'u cyflwr syrthiedig, a'u gwneuthur yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni.

II. Beth sydd yn Eglwys Dduw yn ei gwneuthur yn debyg i wraig?

1. Y mae y wraig yn cael ei hystyried y llestr gwanaf.

2. Y mae'r gair yn tybied fod priodas wedi bod rhyngddi â'i Phriod. Nid morwyn, na merch, na gwyryf ydyw, ond gwraig. 3. Y mae y gair hefyd yn arwyddo y bydd yn llawen fam plant.

1. *Y mae yn cael ei galw yn wraig am mai y llestr gwanaf ydyw.* Y mae y gŵr i roddi parch i'r wraig fel y llestr gwanaf. Y mae bod Crist yn galw ei eglwys yn wraig iddo yn dangos ei fod yn ei hystyried yn un wan, fel y mae ynddi ei hun. Y mae yn dyfod i fyny o'r anialwch â'i phwys ar ei Hanwylyd. Y mae yr eglwys yn wan, ond y mae ei Phriod yn gryf. Gan hyny peidiwch rhoddi eich dyrnau arni yn drwm; y mae gan ei Phriod awdurdod a nerth i'w hamddiffyn. Nis gellwch wneyd dim cam â hi heb i'w Phriod glywed. Peidiwch estyn bysedd ar ei hol i'w gwawdio; y mae mor anwyl gan ei Phriod ag ydyw canwyll ei lygad. Chwi estynwch eich bysedd i'r tân os estynwch hwy i geisio niweidio canwyll llygad ei Phriod, y Duw cadarn. Fe gofia Duw y cam a wneir i'w eglwys. Dywedodd Enoch, y seithfed o Adda, yr hwn oedd yn bregethwr tanllyd iawn, y cofia Duw am y cyfan hyd ddiwedd y byd. "Wele, y mae yr Arglwydd yn dyfod gyda myrddiwn o'i saint, i wneuthur barn yn erbyn pawb, ac i lwyr argyhoeddi yr holl rai annuwiol o honynt am holl weithredoedd eu hannuwioldeb, ac am yr holl eiriau caledion, y rhai a lefarodd pechaduriaid annuwiol yn ei erbyn ef." Ië, yn erbyn y saint y dywedasant, ac nid yn ei erbyn Ef. Gwir, ond y mae y Priod yn teimlo pan fydd ei wraig yn cael cam. Nid yw yn ceisio ond cael tawelwch a rhyddid i fyned drwy eich gwlad fel Israel gynt. Mewn lle arall y mae ei chartref; gadewch lonydd iddi. Un wan ydyw, wan ei ffydd, wan ei chariad, wan ei hysbryd; ac hefyd y mae ei gelynion yn ei dyrysu yn aml; ond y mae yn gryf yn ei pherthynas â'i Phriod.

2. *Y mae priodas wedi bod rhyngddi â Mab Duw.* Y

mae dau beth yn y briodas: cariad yn ei Phriod, a ffydd ynddi hithau. Felly y mae y briodas yn undeb trwy fod gan Grist ffydd ynddi hi, a hithau ffydd ynddo yntau. Y mae yr undeb mor agos fel nad oes dim all ei dori. Nid oes dim na neb fedr wahanu rhyngddynt. Llefwch am gael bod mewn cysylltiad â'r eglwys, ac yna cewch fyned i mewn gyda hi i lŷs y nef. Y mae llawer yn dyweyd nad ydynt yn sicr eu bod yn perthyn iddi, ond gallant ddyweyd eu bod yn ewyllyswyr da iddi, ac y byddai yn dda ganddynt gael rhoddi pluen yn ei gwisg. Os ydynt yn ofni eu bod yn aflan, gallant ddyweyd fod Iesu yn golchi ac yn glanhâu, fel na bydd ar ei eglwys na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw.

"O storom gref i storom mi deithiaf doed a ddêl,
I'r wlad sydd yn llifeirio o felus laeth a mel;
Ymhob rhyw storom erwin anturiaf guddio 'mhen,
Yn nghysgod Craig yr oesoedd nes dêl fy nhaith i ben."

# PREGETH II.

## EIRIOLWR GYDA'R TAD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN EVANS, LLWYNFFORTUN.

*Yn Nghymdeithasfa Machynlleth, Awst 1821.*

1 IOAN ii. 1: "Y pethau hyn yr wyf yn eu hysgrifenu atoch fel na phechoch; ac o phecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn."

Y MAE yr Apostol Ioan yn y bennod flaenorol yn dywedyd nad oes neb tu yma i angeu yn cyrhaedd perffeithrwydd dibechod. "Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'i air ef nid yw ynom." Ffrwyth twyll ac anwybodaeth ydyw hyny. "Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlawn yw efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein hanwireddau." Wedi iddo ddywedyd hyn, sef fod yr eglwys yn gymysg o ras a phechod, o rinwedd a llygredd, y mae yn annog ei rai anwyl, yn y geiriau hyn, i beidio â phechod. Y mae yn ddyledswydd bwysig ar weinidogion yr efengyl i annog eu gwrandäwyr i beidio a phechu. "Fy mhlant bychain, y pethau hyn yr wyf yn eu hysgrifenu atoch fel na phechoch" yn rhyfygus. Y mae yn anmhosibl i'r credadyn fod heb anian bechadurus ynddo; ond fel na phechoch yn rhyfygus, yn fwriadol, yn wybodus. Nid oedd Ioan yn meddwl y gallent ddyosg yr hen ddyn yn hollol, ond y mae yn eu hannog i farweiddio yr hen ddyn. "Fy mhlant bychain, y pethau hyn yr wyf yn eu hysgrifenu atoch, fel na phechoch" yn fwriadol, a

gwybodus, a rhyfygus. Yna y mae yn dywedyd, "O phecha neb y mae i ni Eiriolwr." Y mae y defaid yn syrthio yn y pyllau yn aml, ond nid ydynt am ymdreiglo yn y pyllau fel y gwna y mochyn. Felly y duwiol, nid ydyw am ymdroi yn ei bechod. Boed yr anian sanctaidd yma yn mhawb o'n gwrandäwyr. Gweddïwch am anian fyddo yn eich cadw fel na phechoch.

Y mae yr apostol yn y geiriau hyn am galonogi y rhai yr oedd yn ysgrifenu atynt na ddylent lwyr ddigaloni ac ymollwng i anobaith, os byddai iddynt syrthio i bechod, oblegid bod i ni Eiriolwr. Yr oedd ofnau ar rai o'r saint yn y dyddiau hyny, os pechent ar ol cael eu derbyn i'r eglwys a'u bedyddio i'r grefydd gristionogol, na chaent faddeuant mwy. Ni byddai yn ddrwg genyf pe byddai yr argae hon ar ffordd llawer eto, i'w cadw rhag pechu; ond arwyddir mai argae afreidiol gyfeiliornus ydoedd, oblegid bod Eiriolwr gyda'r Tad. Bedyddiwyd pawb o honoch rywbryd, ac onid yw yn drugaredd fawr fod modd i faddeu eich pechodau ar ol eich bedydd? "O phecha neb y mae i ni Eiriolwr." Yr un yw ystyr y gair Eiriolwr a'r gair Dadleuwr. Pe bawn yn pregethu yn awr yn Affrica, dywedwn lawer am ystyr y gair Eiriolwr; ond nid oes anghen dywedyd hyny yn awr wrthych chwi; ond dywedaf hyn, mai Iesu yw'r Eiriolwr, a'i fod ar ddeheulaw ei Dad yn ein natur ni. Yr oedd bob amser gyda'r Tad o ran ei Dduwdod; ond y mae y gair Eiriolwr yn arwyddo ei fod gyda'r Tad fel y mae yn ddyn yn ein natur ni. Er fod y Tad yn eistedd fel Barnwr i amddiffyn anrhydedd ei lywodraeth, y mae ef fel Eiriolwr gyda'r Tad ar ran y bobl sydd yn galaru am eu pechodau. Nid Eiriolwr am eich bywyd gyda'ch Barnwr ydyw Iesu; ond Eiriolwr gyda'ch Tad ydyw. Y Barnwr ei hun sydd ar orsedd cyfiawnder, ond Eiriolwr gyda'r Tad ydyw Crist; ac un cyfrwys, cymhwys iawn ydyw; y mae yn medru y ddwy iaith—iaith

yr orsedd, sef iaith y Barnwr, a iaith y troseddwr. Y mae yn Eiriolwr addas ar bob golwg. Dadleuwr o ysbryd a doniau anghyffredin ydyw. Nid Eiriolwr gyda'i Dad a ddywedir, ond Eiriolwr gyda'r Tad. Pe buasid yn dywedyd Eiriolwr gyda'i Dad, buasai hyny yn dangos fod gan y Tad barch mawr i'w Fab, a bod ganddo yntau barch mawr i'w Dad; ond ni buasai yn dangos fod dim tuag atom ni. Ond Eiriolwr gyda'r Tad ydyw, sef ei Dad ef a'n Tad ninnau. Pan welodd Mair ef ar ol ei adgyfodiad, hi a syrthiodd wrth ei draed. Dywedodd yntau wrthi, Na chyffwrdd â mi, canys ni ddyrchefais i eto at fy Nhad; eithr dos at fy mrodyr a dywed wrthynt, Yr wyf yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, a'm Duw i a'ch Duw chwithau." Y mae yn dragywyddol Dad i mi, fel yr wyf fi yn dragywyddol Fab; ond y mae genyf gysylltiad arall âg ef hefyd; y mae yn Dad i mi fel yr wyf yn ddyn, ac am hyny y mae goruchwyliaethau agos âg ef fel Tad. "Dos, dywed wrth fy mrodyr fy mod yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, a'm Duw i a'ch Duw chwithau." Bydd yn dda ganddynt hwy glywed hyny.

"Y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad." Y mae y Mab yma yn cael ei ddarlunio fel gwas i'r Tad; ac y mae yn cyflawni ei swydd fel gwas. Y mae yn awr gyda'i Dad yn ei swydd briodol, sef eiriol dros y troseddwyr. "Y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn." Y mae rhai yn esbonio y gair cyfiawn yn y lle hwn i arwyddo ei fod yn drugarog. Y mae yn sicr ei fod yn drugarog; ac am hyny meddylia rhai mai ystyr y gair cyfiawn ydyw ei fod o'i drugaredd yn eiriol dros y troseddwyr. Y mae'n dda iawn i ni ei fod felly. Ond nid wyf yn meddwl mai hyny a feddylir yma, ond fod y gair cyfiawn yn cael ei gymeryd yn ei ystyr iawnol: Iesu Grist y cyfiawn; ac efe yw'r Iawn. Er maint ein pechodau, y mae genym Ddadleuwr cyfiawn; y mae Eiriolwr cyfiawn yn dadleu ein

hachos, ac efe yw'r Iawn. Nid yw yn dadleu dros neb ond y rhai y rhoddodd iawn drostynt. Y mae ganddo le cyfiawn yn y nefoedd heddyw, a dadl iawn am y bendithion; y mae nid yn unig yn gyfiawn ei hun, ond y mae wedi gwneyd iawn. Diolch am ei iawn. "Ac efe yw'r Iawn;" hyny yw, efe a wnaeth iawn. Y mae rhai yn barnu mai efe ei hun yn ei Berson yw'r iawn. Y mae yn wir fod ei Berson, a'r hyn a wnaeth yn ei Berson, i fod yn iawn. Trwy ei fod yn Emanuel, Duw gyda ni, y mae yr hyn a wnaeth yn iawn dros ei eglwys. Y mae yn amlwg mai y cyfiawnder a weithiodd Crist yw yr iawn.

I. Dangoswn fod Iesu Grist yn Eiriolwr.

II. Pa fath Eiriolwr ydyw?

III. Ei ddull yn eiriol.

I. Y mae yn Eiriolwr.

1. *Y mae ei apwyntiad neu ei osodiad i fod yn Eiriolwr wedi bod yn gynnar iawn.* Dechreuodd ar ei swydd cyn bod amser. Y mae yn Eiriolwr er tragywyddoldeb. Cyhoeddwyd ef i fod yn Gyfryngwr ac yn Eiriolwr yn fore iawn. Y mae yn arwyddo ei fod wedi cael ei apwyntio yn fore iawn yn y geiriau hyny, "Er tragywyddoldeb y'm heneiniwyd; er y dechreuad cyn bod y ddaear." Yr wyf, medd ambell un, yn methu amgyffred pa fodd y gallai hyny fod, pa fodd y gwnaed Iesu yn Gyfryngwr cyn bod amser. Felly yr wyf finnau, ond fy mod yn ceisio ei gredu. Apwyntiwyd ef cyn bod amser i fod yn Gyfryngwr, ac wrth ei osod yn Gyfryngwr, gwnaed ef yn Eiriolwr.

2. *Eglurwyd ei gymeriad fel Eiriolwr drwy y deddfau seremonïol.* Neillduwyd amryw bersonau i'w ddangos fel Eiriolwr. Bu Moses ac eraill yn sefyll yn yr adwy i ddangos y deuai Un mwy na hwy at y gorchwyl. Unwaith pan oedd yr Arglwydd yn bygwth dystrywio Israel, y mae Moses yn eiriol ac yn dywedyd, Paid, onidê fe wawdia yr Aiphtiaid; ac os na wnai, dilea fy enw i o dy lyfr; fel

pe buasai yn dywedyd, Yr wyf yn fwy boddlawn i hyny nag i'r Aiphtiaid gael lle i wawdio. Ië, fel pe buasai yr Arglwydd yn dywedyd, Y maent yn haeddu eu dystrywio; gad i mi ddyfod yn ngherbyd fy llid i'w dyfetha. Na, meddai Moses, mi safaf fi yn yr adwy yn ffordd dy gerbyd, a chei fy lladd i yn gyntaf. Un nodedig iawn oedd Moses. Paham y cododd Duw ddyn fel hwn? meddai rhywun. Nid am ei fod wrth natur yn well na rhywun arall, ond i arwyddo pa fath un fyddai y Cyfyyngwr mawr. Diolch am iddo roddi portread o'r Mab fel Mab ar ei dŷ ei hun, trwy godi gwas cyffelyb i Moses i fod yn gysgod o hono. "Canys Moses yn wir a fu ffyddlawn yn ei holl dŷ ef megys gwas, eithr Crist megys Mab." Yr oedd y gwas yn debyg iawn iddo; ond daeth y Mab a gwaredodd y rhai oedd yn haeddu eu lladd; dyoddefodd dros y troseddwyr; a'r gogoniant a gafodd Moses oedd, cael arwain Israel o gaethiwed yr Aipht, a bod fel cysgod o'r Messïah. Yr oedd yr holl ogoniant oedd arno ef ar Iesu. "Wele fy ngwas yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal, fy etholedig i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn." Yr oedd seremonïau goruchwyliaeth Moses yn gysgodau neillduol o gyfryngdod ac eiriolaeth Crist. Yr oedd gan Aaron a'r holl archoffeiriaid awdurdod i fyned i mewn i'r cysegr o waith llaw, sef y cysegr sancteiddiolaf, unwaith yn y flwyddyn, cyn dyfodiad Iesu Grist. Byddent hwy yn myned i'r cysegr nesaf allan bob dydd, ond unwaith yn y flwyddyn y byddent yn cael myned i'r cysegr nesaf i mewn; a byddai yr archoffeiriad bob amser wrth fyned i mewn yn myned â gwaed ganddo; ac onid oedd hyny yn gysgod o Iesu, yr Archoffeiriad mawr, yn myned i mewn i'r nefoedd trwy ei waed ei hun? Unwaith yn y flwyddyn y byddai yr archoffeiriad cysgodol yn myned; ond unwaith yn niwedd y byd yr aeth Crist i mewn, a hyny trwy ei waed ei hun. Y mae rhai yn barnu iddo fyned â'r gwaed oedd ganddo yn ei gorff i'r nefoedd, ac na chafodd

ei golli; ond pa un bynag am hyny, aeth i mewn trwy ei waed ei hun. Y mae rhai yn dywedyd na bu ei waed yn rhewi ar y ddaear; ond nid allaf fi mo'r dywedyd hyny, oblegid aeth i mewn i'r cysegr trwy ei waed ei hun. Byddai yr archoffeiriad gynt hefyd yn myned âg arogldarth gydag ef, a phan elai i mewn byddai yn taenellu y gwaed ar yr arogldarth, ac fe fyddai y mwg yn codi ac yn ymdaenu dros y drugareddfa.

3. *Yn nghyflawnder yr amser cymerodd Mab Duw y natur ddynol fel y byddai yn addas Eiriolwr.* Nis gallai eiriol fel yr oedd yn Dduw. Ond yn awr, fel y mae yn Dduw a dyn, gall ymostwng i ofyn i'w Dad. Y mae yn dywedyd y byddai iddo pan esgynai i'r nefoedd weddïo ar ei Dad am anfoniad yr Ysbryd Glân, a chafodd yr Ysbryd ei dywallt yn ol ei eiriolaeth. Fel Duw, nid allasai weddïo neu eiriol felly. Ond yn awr fel Emanuel, neu Dduw-ddyn yn un Person, fe all; gan fod dynoliaeth mewn undeb â'i Dduwdod, y mae yn gymhwys i eiriol. Fel pe buasai y Tad yn dywedyd, Fy Mab, y mae yn fy mwriad ac yn fy arfaeth anfon yr Ysbryd Glân, ond rhaid i ti ddyfod yma yn y natur ddynol i eiriol am hyny. Diolch am iddo orphen talu y ddyled fawr, ac am ei waith yn eiriol dros y troseddwyr. Llawenhäwn oblegid yr ail ran yma yn ei offeiriadaeth, sef ei ofal i eiriol dros y troseddwyr. Dywedodd ei fod yn gweddïo nid dros y rhai hyn yn unig, ond dros y rhai a gredent hefyd drwy yr holl fyd. Onid yw Iesu yn dywedyd nad yw yn gweddïo dros y byd? Ydyw. Ni weddïodd chwaith dros y rhai a ânt i uffern; ond y mae yn gweddïo dros y plant a enir, am hyny peth ofergoelus ydyw dywedyd ei fod yn eiriol dros neb ond y rhai sydd yn credu. Y mae yn eiriol dros bawb a gredo. Y mae genyf un sylw i'w chwanegu yma, sef bod Iesu Grist cyn cymeryd dynoliaeth, neu ein natur ni, yn cymeryd rhyw wisg fenthyciol er gallu eiriol. Dywedir yn Zechariah i. 12, "Ac angel yr Arglwydd

a atebodd ac a ddywedodd, O Arglwydd y lluoedd, pa hyd na thrugarhêi wrth Jerusalem, a dinasoedd Judah, wrth y rhai y digiaist y deng mlynedd a thriugain hyn?" Iesu oedd yr angel oedd yn eiriol, a gwrandawodd y Tad, a chafodd yr Iuddewon ddychweliad i'w gwlad.

II. Pa fath Eiriolwr ydyw Iesu? Un awdurdodol, cyfiawn, trugarog, a doeth.

1. Y mae ganddo *awdurdod* i fod yn Eiriolwr. Yr oedd yn anghenrheidiol iddo gael ei anfon gan y Tad. Yr oedd wedi derbyn gorchymyn am y cwbl a wnaeth. Pan oedd yn ufuddhâu i orchymyn ei Dad, yr oedd yr haul yn gwrido —yn methu edrych arno, am na welodd erioed y fath olwg. Yr oedd yn gwrido wrth ei weled, ac yr oedd yn gweddu iddo wrido. Nid wyf fi yn gwneuthur dim, meddai Iesu, heb gael fy ngorchymyn i'w wneuthur gan fy Nhad. Buasai yn rhyfyg i ni bwyso arno oni buasai fod ei aberth wedi ei dderbyn gan y Tad. Y mae Iesu yn ei swydd pan yn dadlu dros droseddwyr. Nid yw yn gwneuthur dim heddyw yn y nefoedd ond yr hyn yr awdurdodwyd ef i'w wneuthur gan ei Dad. Nid yw yn gofyn dim sydd yn groes i ewyllys ei Dad.

2. Y mae yn Eiriolwr *cyfiawn*. Dadleu y mae am yr hyn y mae wedi haeddu. Y mae wedi teilyngu cael yr hyn y mae yn eiriol am dano. Achos cyfiawn ydyw achos Crist; ac os ymddiriedi dy fater drwy ffydd iddo, ni ddemnir byth mo honot; oblegid nid ydyw ef yn dadlu am ddim ond yr hyn y mae wedi deilyngu. Nid yw yn gweddïo ar y Tad, "Achub y saint yn ol dy drugaredd," ond "yn ol dy gyfiawnder." "Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi; oblegid ti a'm ceraist er cyn seiliad y byd. Y mae yn gweddu i ni orphwys ar drugaredd y Tad; ond nid dyna sydd gan Grist fel Eiriolwr i'w ddadlu, ond dadlu cyfiawnder y mae. Gall yr Eiriolwr Iesu ddywedyd fel hyn, Fy

Nhad, y mae eglwys yn y fan a'r fan bron trengu; am hyny rhaid i'r Ysbryd Glân gael ei anfon i weithio ynddynt, oblegid gwnaethum iawn; mi delais eu dyled. Y mae Ioan yn dywedyd am orsedd wèn fawr yn cael ei chodi yn y nef; ac y mae Flavel yn dywedyd mai gorsedd eiriolaeth Iesu Grist ydoedd hono. Nid oedd yr un orsedd yn y nef i eiriol arni cyn i'r Iesu fyned yno; ond y mae ef yn eiriol oddiar ei orsedd. "Y Tad," meddai, "nid wyf yn ewyllysio ar i ti eu cymeryd hwynt allan o'r byd, eithr ar i ti eu cadw hwynt rhag y drwg sydd yn y byd." Y mae gweddi Crist yn yr eilfed bennod ar bymtheg o Ioan yn cael ei galw gan dduwinyddion yn gopi o'i eiriolaeth yn y nefoedd. "Fy Nhad, nid wyf yn ewyllysio i ti eu cymeryd oddiar y ddaear, eithr ar i ti eu cadw rhag y drwg." Yr un ewyllys sydd gan y Tad a'r Mab. Y mae'r gyfraith yn cyhoeddi yn awr ei bod uwch ben ei digon. Y mae cyfiawnder yn dyweyd na fyn yntau ddim yn rhagor, ond y bydd ef o blaid eu hachub. Yr wyf yn cofio hanes fel hyn: dygwyddodd fod swyddog uchel mewn milwriaeth âg iddo frawd a gaed yn euog o drosedd ag oedd yn werth ei fywyd. Ond daeth y swyddog uchel ag oedd yn *admiral*, yr hwn oedd wedi dyoddef llawer, ac wedi colli ei fraich yn y frwydr, ymlaen i'r llys, a dymunodd y brawd euog am iddo dreio ei achub; ond nid oedd gan y brawd yr un sail i ddysgwyl y llwyddai. Anfonwyd llythyrau gan gyfeillion at yr *admiral*, er dangos iddo y byddai yn waradwydd i'r teulu ei fod heb dosturio a cheisio achub ei frawd; yr oeddid yn ofni nad oedd dim tosturi ynddo. Ond y dydd yr oedd ei frawd yn cael ei brofi, deallwyd fod ei frawd, sef yr *admiral* enwog, yn y llys; a phan ddeallodd fod ei frawd yn cael ei gondemnio i farw, dechreuodd ei ymysgaroedd gynhesu, ac eisteddodd yno heb ddywedyd dim, nes oedd y barnwr yn myned i gyhoeddi y gollfarn. Ar hyny cododd i fyny, ac estynodd ei fraich, yr hon oedd wedi ei thori, a dywedodd

â llais tyner, "os oedd hono wedi haeddu dim, am iddynt achub ei frawd. A llwyddodd ei eiriolaeth. Diolch am Frawd' yn llys y nef sy'n dywedyd, Os bu y clwyfau hyn o ddim gwerth—os yw y pen goronwyd â drain wedi haeddu rhywbeth, a'r traed a'r dwylaw fu dan hoelion, a'r ystlys a drywanwyd yn haeddu rhywbeth; os yw yr enaid a roddwyd yn aberth dros bechod yn haeddu rhywbeth, yr wyf yn eiriol am arbediad fy eglwys. Mi wnaf, mi wnaf, medd y Tad; cânt eu harbed, cânt eu bywyd, cânt y nefoedd.

3. Eiriolwr *trugarog* ydyw Iesu. Yr oedd yn rhaid iddo ymhob peth fod yn gyffelyb i'w frodyr, fel y byddai yn drugarog. Diolch am Un wedi ei gystuddio ymhob peth fel ninnau.

4. Eiriolwr *doeth* ydyw. Medr ddadlu yn y modd mwyaf synwyrol am fywyd pechadur. Y mae yn eiriol am i ti gael buddugoliaeth ar dy holl lygredigaethau. Y mae yn erfyn am i ti eu gorchfygu a'u marweiddio, er eu bod wedi rhedeg trwy bob gwythïen o dy waed. Tarddodd pethau rhyfedd iawn drwy y drefn i achub pechadur, sef heddwch a chysur iddo. Medr Iesu wrth eiriol osod pob peth yn y lliw goreu. Y mae ei lais yn effeithiol ac ennillgar yn llys y nef. Pan y mae yn gweled ei frawd ieuengaf yn casglu powsi o flodau, a bod ganddo yn ei bowsi ddrain a mïeri a danadl ymysg y blodau, y mae y Brawd hynaf yn eu gweled ac yn eu tynu allan, ac yna yn lapio y blodau per âg edef ysgarlad. Felly y mae mïeri a drain ac ysgall a danadl yn ein gweddïau melusaf ninnau; ond y mae genyf Frawd yn llys y nef a fedr eu tynu allan, ac a fedr lapio y blodau mewn riban ysgarlad, ac yna eu gwlychu yn ei waed, ac wedi hyny eu cyflwyno i'w Dad, yr hwn sydd yn eu derbyn gyda boddhâd a llawenydd.

# PREGETH III.

## BOD YN NGHRIST.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM CHARLES, GWALCHMAI, MON.*

PHILIPPIAID iii. 9: "Ac y'm cair ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd."

Y MAE yn amlwg mai ymofyniad penaf dyn, wedi iddo golli Duw ydyw, "Pwy a ddengys i ni ddaioni?" Fe frefa yr hydd am yr afonydd dyfroedd; fe rua y llew yn y goedwig am ei ysglyfaeth; ac fe ymawydda dyn am ryw "ddaioni." Y mae y dymuniadau sydd mewn dyn y fath fel y gwaedda yn barhâus, "Moes, moes," hyd oni chaffo yr hyn y mae yn ymchwilio am dano. Er fod effeithiau pechod yn fawr ar y ddynoliaeth, eto y mae yn ymgais am ddaioni dychymygol neu sylweddol yn barhâus; ond y mae ei ymgais am dano yn gyffelyb i long ar y cefnfor, yn chwilio am y porthladd dymunol heb lyw na chwmpawd. Fe dramwya tuag ato ar hyd wahanol ac amrywiol ffyrdd,

* Gan ein bod wedi rhoddi braslinelliad o fywyd a chymeriad, a marwolaeth y brawd anwyl hwn ynglŷn â'i bregeth yn y gyfrol gyntaf o'r *Gofadail*, nid oes anghen am ragor yma. A da iawn genym ein bod wedi llwyddo i gael pregeth gyflawn o'i eiddo, a thra nodweddiadol o hono, a draddodwyd ganddo ar fore Sabboth yn Llanrwst, tua'r flwyddyn 1847, ac a ysgrifenwyd wrth ei gwrando mewn llaw fer gan Mr. Humphrey Williams, yn awr o Ddinbych, trwy garedigrwydd pa un y cawsom hi i'w hargraffu am y waith gyntaf. Diammeu genym y diolcha llawer iddo am ddiogelu y fath sypyn o rawnwin addfed a melus. Ceidw hon enw anwyl WILLIAM CHARLES yn fyw yn hir iawn.

a'r rhai hyny oll yn gyfeiliornus. Po fwyaf a deithia am dano, pellaf yr ä oddiwrth y nôd y mae yn ymgyrhaedd ato. Fe ddisgyna ar lawer o flodau, ond nid yw yn cael ond y gwenwyn; fe ymofyna am dano mewn llawer o fanau, ond nid yw yn cyfarfod ond â siomedigaeth. "Wele, ymlaen yr âf, ond nid yw efe yno; yn ôl hefyd, ond ni fedraf ei ganfod ef" (Job xxiii. 8). Mor rymus yw ei ddymuniadau a'i anturiaethau am dano, fel yr esgyn ac y disgyn i'r dyfnder yn ei ymchwiliad am dano, pan y "mae y gair yn agos atat, yn dy enau ac yn dy galon."

Wrth i ni droi dalenau y Bibl yr ydym yn cael fod plant dynion â'u dymuniadau yn wahanol iawn i'w gilydd, a phawb â rhyw ddaioni mewn golwg, naill ai dychymygol neu sylweddol. Yn ngwastadedd Sinar, dacw deulu dyn yn cydgyfarfod i adeiladu dinas, a'i thŵr a'i nen hyd y nefoedd, gan dybio cael dedwyddwch yn eu harosiad gyda'u gilydd. Ahab a orweddai ar ei wely am winllan Naboth; Haman a fwriai goelbren, gan feddwl cael bri ar draul dinystr yr Iuddewon. Fe wnaeth Solomon ymchwiliad manwl i holl bethau amser, a dywedodd, "Gwagedd o wagedd, gwagedd yw y cwbl." Ymhlith y lliaws sydd â'u dymuniadau ganddynt, y mae y dyn duwiol yntau yn dymuno; y mae ei ddymuniadau ef yn hŵy na'r ddaear, ac yn lletach na'r môr. "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi" (Psa. lxxiii. 25). A chlywir ef ryw ddiwrnod yn dywedyd, "Cydlawenhewch â mi, canys cefais y dryll a gollaswn." Yn rhestr y rhai hyn y cawn yr apostol yn y testun: "Ac y'm cair ynddo ef heb ddim o'm cyfiawnder fy hun." Yr oedd gan Paul amryw ddymuniadau pwysig: ennill Crist—"fel yr ennillwyf Grist" (Phil. iii. 8); "bod gyda Crist;" cael "etifeddiaeth yn nheyrnas Crist;" a bod yn Nghrist, "*ac y'm cair ynddo ef.*" Y mae hyn yn cynnwys,—ac y'm cair yn ei gyfiawnder ef, ac yn gymeradwy ynddo ef ger bron

Duw, a'i gymhwyso ganddo i fwynhâu pob dedwyddwch am byth.

Yr unig sylw a wnaf oddiwrth y testun ydyw, dangos fod yn rhesymol i bob un sydd yma heddyw ddymuno yr un fath â'r apostol yn y testun. Mi enwaf dri pheth sydd yn dangos y priodoldeb o hyn :—

I. CYFLWR DYN ALLAN O GRIST.

II. YR HYN A EFFEITHIA BOD YN NGHRIST AR DDYN.

III. YR AMGYLCHIAD DIFRIFOL A SOBR SYDD I GYFARFOD A PHOB DYN, AC NAD OES OND BOD YN NGHRIST A'I GWNA YN DDEDWYDD. Ond yn

I. CYFLWR POB DYN ALLAN O GRIST.

Y mae y fath, mewn gair, fel y mae yn rhesymol i ti ddymuno ei newid. Rhinwedd. efengylaidd ydyw dysgu ymha gyflwr bynag y gosodir ni ynddo gan Dduw yn ei ragluniaeth, yw "*bod yn foddlawn;*" ond am y cyflwr yr ydwyt ti ynddo fel pechadur, peth hoff gan Dduw fyddai fod genyt ddymuniad am ei newid. Y mae tueddiadau cryfion ymhob dyn at ddrygioni, fel y gallwn benderfynu ei fod wedi cyfnewid yn fawr o'r peth y gwnaeth Duw ef ar y cyntaf. Wrth i ni droi tu dalenau y Bibl, dywedir fod dyn wedi "llygru ei ffordd ar y ddaear;" pawb, Iuddewon a Chenedloedd, dan bechod. Edrychodd Duw i lawr o'r nefoedd ar feibion dynion, ac nid oedd neb cyfiawn, nac oedd un. Mawr y cyfnewidiad y mae pechod wedi ei wneyd ar ddyn. "Yr hwn a wnaed yn uniawn," wedi "chwilio allan lawer o ddychymygion," ydyw dyn; arglwydd y greadigaeth wedi ei gymeryd yn gaethwas; cyfaill Duw wedi troi yn elyn iddo ydyw dyn; teml Dduw wedi myned yn ogof lladron. Fe'i gwnaed ef yn uniawn, fe'i gwnaed ar ddelw Duw—yr oedd pob hoel yn mhabell ei natur yn ei lle, a'i dueddiadau yn cyfeirio yn gywir at ogoniant Duw, ond fe chwiliodd allan lawer o ddychymygion; fe geisiodd wella ei sefyllfa, am yr hon y dywedodd Duw, "Wele da iawn

ydoedd;" ac wrth wneuthur hyny fe aeth i sefyllfa eithaf truenus. Wrth geisio myned yn uchel fe aeth yn isel; pan feddyliodd am fod fel duwiau, fe aeth fel Satan; pan ddychymygodd am hunan-ddigonolrwydd, fe aeth yn gaethwas i'w chwantau. Yr oedd dyn yn ei greadigaeth yn rhyw greadur canol, cyfansoddedig o'r bywyd angylaidd a'r bywyd anifeilaidd; ond erbyn hyn y mae wedi ei lyncu gan yr olaf, fel y mae yn gyffelyb i'r anifeiliaid—fel y march neu ful heb ddeall, fel y ci yn dychwelyd at ei chwydiad, neu yr hwch at ei hymdreiglfa yn y dom, fel pe buasent wedi cydgyfarfod yn yr un man er gwneyd rhyw gyfansoddiad gwenwynig, a hwnw yn ddyn wedi colli delw Duw. Pa faint ydyw trueni dyn, nis gallaf ddyweyd; fe allai y byddai edrych ar y trueni y mae yn ddarostyngedig iddo yn allanol yn gynnorthwy i ganfod ei drueni ysbrydol, oblegid y mae rhywbeth yn debyg yn llywodraeth naturiol Duw ar y byd i'w lywodraeth ysbrydol. Pe meddyliem am y *dall*, yr hwn ni welodd oleuni; y *byddar*, yr hwn ni chlywodd ei glustiau beroriaeth; y *mud*, na thraethodd ei dafod bethau da; trueni y caethwas yn ei gadwyn, trueni y condemniedig sydd yn aros dydd y dienyddiad, trueni y marw a gleddir o'r golwg, nid yw yr holl drueni yna ond y peth y mae dyn yn ei afael mewn ystyr ysbrydol. Mi feddyliwn fod yn rhesymol dysgwyl gwaedd o'r Aipht yna, gan faint y caethiwed; os bydd galar ac wylofain yn y Ramah hon, y mae lladd ofnadwy uwch ben. Annuwiol! annuwiol! os wyt yn gwrandaw, os gweli ambell i Lot yn ffoi o'r ddinas, na ryfedda, oblegid fe aiff ar dân yn fuan. Pob dyn annuwiol a welodd ddrwg ei gyflwr, y peth cyntaf a wnaeth oedd gwaeddi am ei newid. Pe byddai y goleu yma y bore heddyw, fe fyddai yma waeddi am newid cyflwr. "Crea galon lân ynof, O Dduw!" "Ac y'm cair ynddo ef."

II. Mai bod yn Nghrist yw yr unig beth a effeithia gyfnewidiad ar ddyn.

Yr un peth yw dyn yn nghyfrif Duw ymhob man nes ei gael "*ynddo Ef.*" Y mae yn wir y gellir naddu llawer naddiad, a cherfio llawer cerfiad arno, ond yr un defnydd a fyddai yn y diwedd—ni byddai ond yr "*hen ddyn*" mewn gwisg newydd. Pe byddai mor fanwl a'r Phariseaid, mor ymostyngol ag Ahab, mor zelog a Jehu, fe ddeuai Chwiliwr y galon i'w wyneb, ac a ddywedai, "Y mae un peth yn ol i ti"—nid ydwyt yn Nghrist. Pe ei gosodid ar orsedd, ymwerthu i wneuthur drwg a wnai yn y fan hono; pe ei gwisgid ef â phorphor, yn uffern y codai ei olwg er hyny; pe ei gosodid gyda'r deuddeg apostol, fe "äi i'w le hun" o'r fan hono, wed'yn. Ond pan ddygir ef i Grist, dyna ef yn altro, dyna ef yn greadur newydd "*ynddo Ef.*" Dacw hen erlidiwr yn dechreu gweddïo cyn tynu y llythyrau o'i boced. Gelyn, ond ei gael "ynddo Ef," fe'i gelwir yn "gyfaill Duw." Nid oes neb yn edrych arnat yr un fath wedi dy gael "ynddo Ef." Edrych y ddeddf ddim arnat yr un fath; edrych Satan ddim arnat yr un peth wedi dy gael i Grist. Fe effeithia bod yn Nghrist y pethau canlynol ar bob dyn:—1. Y mae yn diogelu rhag pob perygl. 2. Mae yn sicrhâu preswylfa lonydd am byth.

1. *Y mae yn diogelu rhag pob perygl.* Peth hoff gan bawb ydyw diogelwch. Rhyw deimlad hyfryd iawn ydyw teimlad diogel. Lle hyfryd i fyw ynddo am ychydig ydyw y byd hwn; ychydig a welwyd ynddo oedd yn hoffi ei adael, a myned ymaith. Un peth sydd yn chwerwi ein byd ni ydyw, fod ei breswylwyr mewn perygl bob awr; yr ydym yn cael ein hamgylchu â pheryglon: "peryglon llifddyfroedd, peryglon yn y ddinas, peryglon yn yr anialwch, peryglon ar y môr, a pheryglon ymhlith brodyr gau." Nid cymaint gorchest fyddai i'r morwr esgyn i'r nefoedd, a disgyn i'r dyfnder gyda y dòn, oni b'ai fod ei fywyd mewn perygl. Dyna sydd yn gwneyd swydd y milwr yn bwysig ydyw fod ei fywyd mewn perygl, a'i enaid mewn perygl o ehedeg

oddiar fin y cleddyf i fyd yr ysbrydoedd. Yr oedd ffau y llewod yn fwy hyfryd i Daniel na *bedroom* y brenin y noson hono. Paham? Yr oedd perygl wedi ffoi. Byd y perygl ydyw y byd hwn: mae yma "saeth yn ehedeg liw dydd, a haint yn rhodio yn y tywyllwch, a dinystr yn dinystrio ganol dydd;" ond yn nghanol peryglon y byd hwn y mae yn dda genyf feddwl mai "Tŵr cadarn yw enw yr Arglwydd; ato y rhed y cyfiawn, ac y mae yn ddiogel." Mae yma ddiogelu *(insurio)* bywyd: "Eich bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw." "Pan elych drwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd fel na lifont drosot." Yr oedd yr apostol yn mwynhâu y diogelwch hwn, oblegid yr oedd "*ynddo Ef.*"

Gallesid meddwl ar yr apostol yn y seithfed bennod o'r Rhufeiniaid, mai y truanaf o'r holl ddynion ydoedd—deddf yn ei aelodau yn gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl; corff y farwolaeth yn ei boeni; ond mi feddyliwn ei fod yn dechre cael ei anadl cyn diwedd y bennod, ac erbyn dechre yr wythfed bennod y mae yn dechre gwaeddi, "Nid oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Y mae deddf Ysbryd y bywyd wedi fy rhyddhâu oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth. Y mae yr Ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw; ac erbyn diwedd yr wythfed bennod y mae yn sefyll ar binacl uchel, nes y mae yn gallu gwaeddi, "Fod yn ddiogel ganddo, nad allai nac angeu, nac einioes, nac angelion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presennol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd" (Rhuf. viii. 38, 39. Ah! diolch am le diogel i fod ynddo, gynnulleidfa!

2. *Mae yn sicrhâu preswylfa lonydd am byth.* Ah! fy enaid, os cei fod yn Nghrist, ti gei aros yno am byth.

Dyna a ddywedir am y byd hwn, "Nid oes i ni yma ddinas barhâus." Fe fwynheir llawer o bethau yn y byd hwn ag y mae eu colli yn peri tristwch i ni. Llawer teulu mewn tŷ da yn byw, mae y *warning* i ymadael yn peri tristwch iddynt; llawer gwas mewn lle da yn gwasanaethu, mae y "pen tymmor" o'i flaen. Rhwymau priodasol hefyd ydynt, "hyd oni wahano angeu." Rhaid i Ruth, na fyn sôn am ymadael, ildio i angeu ysgaru; ond os yn Nghrist, ti gei aros yno byth. Dyma dŷ na ddaw byth *warning* i ti ymadael; dyma wasanaeth nad oes dim "pen tymmor" o'i flaen; dyma "ddyweddïo iddo ei hun yn dragywydd." Yn wir, bechadur, ni chei di ddim llonydd mewn un man arall. Y mae ymdaith dyn allan o Grist yn debyg i ymdaith Isaac yn nhir Gerar gynt; cloddio pydew yn y fan acw, ac arall yn y fan draw, y bugeiliaid yn gwaeddi, "Y pydew sydd eiddom ni;" "Y dwfr sydd eiddom ni;" ond fe aethant i fan o'r diwedd, ac a'i galwasant ef Rehoboth; ac ystyr y gair Rehoboth ydyw, *digon o le.* O bechadur! cloddia bydew ymhob man allan o Grist, fe fydd rhywbeth yn gwaeddi, "Y pydew sydd eiddom ni;" ond yn Nghrist, dyma i ti "Rehoboth;" ti gei aros yno byth, heb neb i'th aflonyddu yn dragywydd. Darfu i Job feddwl un diwrnod ei fod mewn diogelwch yn ei dŷ: "Byddaf farw yn fy nyth," meddai. Yr oedd wedi gwneyd ei nyth yn daclus. "Yn y dyddiau pan y cadwai Duw fi, wrth ei oleuni y rhodiwn drwy y tywyllwch; yr oedd dirgelwch Duw ar fy mhabell, a'r Hollalluog gyda mi, a'm plant o'm hamgylch; pan olchwn fy nghamrau âg ymenyn, a phan dywalltai y graig i mi afonydd o olew" (Job xxix. 3—6). Y pryd hyny dywedai, "Byddaf farw yn fy nyth." Ond gyda ei fod yn dywedyd hyn, dyna y Sabeaid yn dechreu tynu ei nyth, dyna y gwynt ystormus yn dryllio ei nyth, y tân yn llosgi ei nyth, a'r Caldeaid yn dechreu dwyn ei nyth ymaith, ac yntau yn cael ei adael yn noeth ar y domen, wedi ei amddifadu

o'i nyth cyn marw wedi hyny. Y mae llawer sydd yma y bore heddyw wedi meddwl, fel Job, farw yn eu nyth; ond y mae rhyw bethau yn dyfod ac yn tynu y nyth—siomedigaethau, clefydau, gweinidogaeth angeu, &c. Mae Siclag Dafydd yn myned ar dân; mae cicaion Jonah yn gwywo; mae beudai Habaccuc yn gwaghâu. Rhaid i Abraham gladdu ei anwyl Sarah; rhaid i Dafydd alarnadu am ei gyfaill Jonathan; rhaid i Rahel wylo am ei phlant. Ond Ah! diolch, gall y rhai sydd yn Nghrist ddyweyd, "Byddaf farw yn fy nyth"—pe marw hefyd; maent wedi nythu er ys dyddiau yn nghlwyfau yr Oen, mewn agen yn y graig, yn archoll fawr y waewffon.

"Dyma fan yn ymyl Duwdod
I bechadur wneyd ei nyth,
A chyfiawnder pur y nefoedd
Yn siriol wenu arno *byth.*"

Aberth wedi ei ddryllio, Iawn wedi ei gael, dyled merch yr hen Amoriad wedi ei thalu, Crist yn derbyn pechaduriaid. Ah! diolch!

III. YR AMGYLCHIAD CYFYNG SYDD O'N BLAEN NAD OES DIM OND BOD YN NGHRIST A'N GWNA YN DDEDWYDD.

Mae arswyd yn dal fy meddwl yma heddyw y bore wrth feddwl fod ymchwydd yr Iorddonen o'm blaen; ond O fy enaid, os byddi yn Nghrist, ti äi trwodd dan ganu. Mae angeu ynddo ei hun yn frawychus, ond yn Nghrist y mae yn altro ei liw; mae *blaidd* yr hen oruchwyliaeth yn *oen* dan yr efengyl; mae *melldith* yr hen gyfammod yn *heddwch* dan yr efengyl; mae *uffern (hades)* yr Hen Destament yn "*fan lle gorweddodd yr Arglwydd.*" Mae bywyd ac anllygredigaeth wedi ei ddwyn i oleuni drwy yr efengyl. Mae y gelyn gynt yn gymwynaswr heddyw; mae brenin y dychryniadau yn gyhoeddwr y jubili i'r saint. Ynddo ef, gynnulleidfa, caffer ni oll. Amen.

# PREGETH IV.

## YR UN BUGAIL.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM MORRIS, CILGERRAN.*

*Yn Llanbrynmair yn 1822.*

EZECIEL xxxiv. 23: "Cyfodaf hefyd un bugail arnynt, ac efe a'u portha hwynt, sef fy ngwas Dafydd; efe a'u portha hwynt, ac efe a fydd yn fugail iddynt."

AMSER pan yr oedd anghen mawr am fugeiliaid oedd yr amser hwnw. Yr oedd llawer o fugeiliaid mewn enw, ond yr oeddynt yn eu porthi eu hunain, ac nid yn porthi y praidd. Ac y mae yr Arglwydd yn cymeryd achos y praidd ac yn ymddyddan â'r bugeiliaid hyny. Y mae fy mhraidd, meddai, yn ymborth i holl fwystfilod y maes; ac

* Brodor o Sir Benfro ydoedd y Parch. WILLIAM MORRIS. Ganwyd ef yn Nghilgerran yn y flwyddyn 1783. Yr oedd ei rieni yn bobl dra chrefyddol, ac yr oedd ei dad, Mr. Thomas Morris, yn bregethwr gyda y Methodistiaid Calfinaidd. Dechreuodd bregethu tua y flwyddyn 1805, a mawr ydoedd ei boblogrwydd trwy Dde a Gogledd Cymru a threfi Lloegr. Diau nad oedd yr un o'i gydoeswyr yn y weinidogaeth yn meddu ar gymaint o arabedd ag ef, a hwnw wedi ei gydwau â hanesyddiaeth y Bibl. Clywsom ef yn pregethu gyda goleuni a nerth ar ddygwyddiadau mawr dydd y Pentecost. "Llawn o win melus ydynt. Nage, wedi yfed gwin yr oeddynt o seler prophwydoliaeth Joel." "Y mae rhyw bobl," meddai, "yn galw eu hunain yn awr yn saint y dyddiau diweddaf. Saint yn awr pïa hi, *friends* bach." "Eto dyma ddau flodeuyn peraroglaidd wedi tyfu ar bren melldigedig y groes, edifeirwch a maddeuant." Byddem yn dysgwyl am dano bob blwyddyn fel am y gwlaw. Cawellaid o ffrwythydd haf addfed ffies a fyddai ei bregethau yn wastad, a mwynheid hwy fel gwledd flasus bob tro y deuai gan y tyrfaoedd a gyrchent i'w wrando.

y mae yn cwyno nad oedd y bugeiliaid yn ceisio y praidd, ond eu bod yn eu porthi eu hunain; ac ar ol hyny y mae yn dywedyd gair ofnadwy wrth y bugeiliaid: "Wele fi i'ch erbyn." Y mae eich plaid chwi yn gref, ond yr wyf fi i'ch erbyn. Gallai eich bod chwi yn meddwl mai o'ch plaid yr ydwyf, ond i'ch erbyn yr ydwyf; ac mi a ofynaf eu gwaed ar eich llaw chwi. Y mae ein mater ein hunain yn ddigon i bawb o honom, heb fod gwaed eraill yn cael ei ofyn ar ein llaw. Ond yr oedd yr Arglwydd yn gofyn gwaed y praidd ar law y bugeiliaid hyny; ac y mae yn dywedyd ymhellach, "Mi a wnaf iddynt beidio a phorthi fy mhraidd." Y mae hyny yn fygythiol i'r bugeiliaid, ond y mae yn fendithiol i'r praidd. Mae'n arwyddo y daw amser ar eglwys Dduw pan y bydd yn rhy boeth i ddynion cnawdol fod yn fugeiliaid iddi. Gallai ei fod yn golygu hyn hefyd, diswyddiad yr offeiriaid Iuddewig. Y llwybr y mae'n gymeryd at hyny sydd yn cael ei grybwyll yn y testun: "Cyfodaf hefyd un bugail, sef Dafydd fy ngwas." Y gwrthddrych yw Dafydd, y swydd yw bugail, a gwaith ei swydd yw porthi a bugeilio; a'r sicrwydd sydd o hyny, "efe a'u portha hwynt,"—efe a'u portha hwynt; a'i barhâd yn y swydd, "efe a fydd yn fugail;" a'r llwybr y daeth i'r swydd, neu y sefyllfa hon, trwy gyfammod Duw: "mi a godaf un bugail arnynt." Y mae yn hysbys i chwi fod Dafydd yn ei fedd er ys cannoedd o flynyddoedd, ac wedi gweled llygredigaeth, a sicr yw na chyfodir mo hono o'i fedd hyd fore yr adgyfodiad, os nad oedd ef yn un o'r llawer hyny a adgyfododd pan adgyfododd Iesu. Gan hyny, y Dafydd y sonir am dano yma ydyw yr Arglwydd Iesu. Y mae yn cael ei alw yn Dafydd, am fod Dafydd wedi bod yn gysgod o hono. Efe yw Sylwedd Dafydd; ac hefyd am ei fod i ddyfod o hiliogaeth Dafydd; ac hefyd i ddangos ei fod yn cyflawni ei gyfammod â Dafydd. Er fod teulu y breninoedd yn y caethiwed, nid ä fy llw yn anghof.

"Dafydd fy ngwas." Nid am ei Berson y mae yn son, ond am ei swydd. Pe buasai yn son am ei Berson buasai yn dywedyd, fy nghyfaill, yr hwn sydd ogyfuwch â mi; ond ei ddangos yn ei swydd y mae yr enw bugail; ac o'r amser hyny hyd y diwedd nid yw yn cael ei osod o flaen ffydd yr eglwys mor aml dan unrhyw enw a than yr enw bugail; a'r achos o hyny yw, am fod yr enw yn cynnwys mwy ynddo nag yr un enw arall. Y mae yr enw bugail yn arwyddo gwasanaeth yr holl swyddau i gyd.

"Cyfodaf hefyd iddynt un bugail." Y mae y Jehofah mawr yn cymeryd iddo ei hun y gorchwyl o gyfodi Crist i'w swydd. Nid aeth Iesu i'w swydd, mwy nag yr aeth Aaron, nes cael ei alw iddi. "Cyfodaf iddynt un bugail." Y mae yr ymadrodd yn dangos fod Iesu o Nazareth yn ei swydd o ddewisiad Duw. "Cyfodaf iddynt un bugail." Yr addewid a welir yn amlwg yn y geiriau hyn yw, bod Iesu Grist yn ei sefyllfa fel Achubydd pechadur yn fugail o Ddwyfol osodiad.

I. YR ANGHENRHEIDRWYDD O'I GYFODI YN FUGAIL; SEF YR HYN OEDD YN AMGYLCHIADAU YR EGLWYS YN GALW AM HYNY.

II. PA FATH FUGAIL YDYW.

III. EI WAITH FEL BUGAIL.

I. YR ANGHENRHEIDRWYDD O'I FOD YN FUGAIL. "Nyni oll a grwydrasom fel defaid; troisom bawb i'w ffordd ei hun." Y mae pawb wedi ymadael â Duw fel arweinydd i hapusrwydd; a phob un yn cymeryd ei lwybr ei hun tua cholledigaeth: "Megys y mae yn ysgrifenedig, nid oes neb cyfiawn, nac oes un." Y maent wedi cydgrwydro. Y maent oll yn wasgaredig oddiwrth Dduw. Yr ydym wedi ei adael o ran ein sefyllfa ysbrydol, a dyna ydyw gwreiddyn ein holl drueni, sef ein bod wedi myned allan o gymdeithas a ffafr Duw. Y mae dynion wedi myned mor ffol a phriodoli llawer o'u trueni i ryw fân amgylchiadau; ond

dyma ydyw gwreiddyn eu holl annedwyddwch, eu bod wedi ymadael oddiwrth Dduw. Yr achos o holl wasgfeuon yr afradlawn oedd ymadael â thŷ ei Dad. Felly y mae eisieu ein dwyn yn ol at Dduw, ein dychwelyd adref o'r gwasgfeuon ofnadwy y mae'r cwymp wedi ddwyn arnom. Dyna ydyw yr achos o'n holl annedwyddwch. Dyna lle y mae gwraidd ein holl drueni; ac y mae yn anmhosibl ein gwneyd yn ddedwydd nes ein dwyn yn ol at Dduw, nes adferu ein natur, a'n dwyn i deimlo ein pellder. Ac yr oedd codi Bugail yn anghenrheidiol, yn

1. Er ein dychwelyd adref at Dduw. Y mae pawb wedi myned i'r tir pell; ac os ceir trefn arnynt rhaid codi Bugail. Os na chaiff eu hachos ei drin gan ryw un arall, bydd maes o'i le dros byth. Y mae eu sefyllfa mor ddrwg fel na bydd modd eu dychwelyd byth heb gael Bugail. Yn un peth, ni allasem ni byth drefnu ffordd o waredigaeth. Pe buasid yn rhoddi y cwestiwn o flaen holl angylion y nefoedd, Pa fodd y gellir cael ffordd i gymmodi gelyn â Duw? Pa fodd y ceir ffordd i ddychwelyd creadur sydd wedi crwydro oddiwrth Dduw adref yn ol at Dduw? buasai y cwestiwn heb ei ateb i dragywyddoldeb. Nid allasent hwy byth drefnu llwybr, ac nid allasent byth ei effeithio wedi ei drefnu. Ni wnai ein holl hunan-gyfiawnderau byth mo'r tro. Bratiau budron ydynt. Pe baech yn casglu y cyfan o honynt, nid ydynt ond bratiau, dim ond *rags*, dim hanner digon i guddio ein noethni; a gwaeth na hyny, nid ydynt ond bratiau budron, yr holl ffordd y cerddant. Nid oes dim cymeradwyaeth ynddynt. Y mae dynion wedi ymlithro a chrwydro oddiwrth Dduw, ac y mae eu hadferu drachefn a'u codi yn ol i ffafr Duw yn anmhosibl i neb ei wneyd ond y Bugail da. A dynion rhagddynt waethwaeth. Ni ddaw i'w meddyliau byth ddychwelyd heb ymgeledd ac arweinyddiaeth y Bugail. Paham y ciliodd pobl Jerusalem yn eu hol âg encil dragywyddol? am nad oedd

iddynt fugail. Y mae dyn wedi cefnu ar Dduw, ac y mae yn myned bellach bellach o hyd oddiwrth Dduw. Y mae hwn wedi bod yn fugail i mi lawer gwaith, medd rhywun; pan y byddai rhywbeth ar fy meddwl, byddwn yn myned i gysgod y bugail yna, gan feddwl gwella rywbryd; ond myned bellach bellach y mae nes y daw y Bugail i'w dychwelyd.

2. Wedi dychwelyd dynion at Dduw, nid allent gadw eu lle wedi hyny heb ofal y Bugail da. Ni threfnodd yr Arglwydd yr un ffordd arall i gyfiawnhâu a sancteiddio. Y mae cyfiawnhâd pechadur yn weithred unwaith am byth; ond y mae ei sancteiddiad yn waith graddol parhâus, a fydd yn myned rhagddo o hyd nes cael ei berffeithio yn angeu. Yn awr tra y byddo y galon ddrwg o anghrediniaeth mewn dyn, y mae hono o hyd yn ei yru i ymadael oddiwrth y Duw byw. Ond, medd yr Arglwydd yn ei drugaredd, "Mi a godaf iddynt fugail." Dyna fel yr oedd dyn yn dywedyd, Mi a gyfeiliornais fel dafad. Felly y mae cyfodi bugail yn anghenrheidiol er sefydlu a chadw dyn mewn heddwch â Duw ac yn ei ffafr. Nid yw synwyr ddim yn ddigon i'w gadw yno. Rhaid derbyn o hyd o'r iachawdwriaeth fawr, onidê yn ol y byddir yn y diwedd. Dyna pa fodd y mae rhai yn gallu sefyll, ymgeledd parhâus y Bugail da sydd ar eu heneidiau.

3. Yr ydym yn byw, yn trigo, lle y mae gorseddfainc Satan; a lle y mae ef fel llew rhuadwy yn rhodio o amgylch gan geisio y neb a allo lyncu: a lle y byddo llewod a bleiddiaid y mae anghen am fugail. "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth uffern nis gorchfygant hi." Y mae dichellion uffern yn drech na phawb nes y deuant at Grist. Ond dan ofal y Bugail da, y mae pechadur yn drech na phyrth uffern. Nid ydyw yn orchest fawr i Satan ddyrysu dynion i golledigaeth os na byddant dan ofal y Bugail. Am y dyn sydd o amgylchiadau isel yn y wlad,

heb fod ganddo fawr o faterion pwysfawr y greadigaeth yn gorphwys ar ei feddwl, bydd gan hwnw ddigon o bethau bychain i'w ddyrysu os na bydd dan ofal y Bugail da. A ydyw yn ddigon o argyhoeddiad arnoch nes teimlo yr anghen am y Bugail? Pan y mae yr Ysbryd yn argyhoeddi, y mae yn argyhoeddi yr enaid o'i anghen am Waredwr ac am Gyfryngwr. Y mae "yn argyhoeddi o bechod, o gyfiawnder, ac o farn." Y mae yn dangos y sicrwydd o fythol golledigaeth os heb Fugail. "Ond cyfodaf iddynt un bugail." Enaid anwyl, a roddaist ti dy hun dan ofal y Bugail hwn? Yr wyf yn meddwl y gall llawer un ag sydd wedi rhoddi ei hun dan ofal y Bugail fod weithiau mewn ammheuaeth ac ofn; boed i'r cyfryw nesu yn nês ato. Er ein calonogi ymofynwn yn

II. PA FATH UN YDYW Y BUGAIL DA?

1. Y mae yn ben Bugail. "A phan ymddangoso y Pen-bugail, chwi a gewch dderbyn anniflanedig goron y gogoniant." Y mae yn gosod îs-fugeiliaid, ac efe a'u gesyd heb sangu ar draed undyn. Pan oedd ar Fôr Galilea rywdro, fe gododd fugeiliaid ag yr oedd pyrth uffern yn crynu rhagddynt. Y mae holl achos ac amgylchiadau ei eglwys dan ei ofal a'i awdurdod. Y mae y Pab yn cymeryd y swydd arno ei hun, ond caiff ef weled rywbryd pwy yw y Pen-bugail. Iesu o Nazareth yw y Pen-bugail; a chymaint sydd yn ein crefydd rhyngom â'r Pen-bugail, dyna a wna y tro. Bydd un olwg ar dragywyddoldeb yn ddigon i doddi ymaith ein crefydd i gyd, ond cymaint a fydd rhyngom â'r Pen-bugail. Y dynion oeddynt yn ffrostio eu bod wedi bwrw allan gythreuliaid yn ei enw, dywedodd wrthynt, "Nid adnabum chwi erioed." Fel pe buasai yn dyweyd, Rhyngoch chwi a'r gwyrthiau, a'r cythreuliaid, a'r cyfan, ni bu dim erioed rhyngoch â mi. Ni waeth i chwi, bobl, beth a fyddo yn eich crefydd, os na bydd perthynas rhyngoch â'r Pen-bugail, hi a ä ar dân i gyd yn y farn. Os nad oes

dim yn eich crefydd rhwng eich eneidiau â Mab Duw, ä ar dân oll yn wyneb y farn.

2. Bugail mawr y defaid ydyw ef. Nis gallwn ni ddim gweled ei fawredd yn ei swydd heb weled ei fawredd yn ei Berson. Y mae pob mawredd swyddol sydd ynddo yn cael ei wreiddyn yn mawredd ei Berson. "A Duw yr heddwch, yr hwn a ddyg drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu Grist, Bugail mawr y defaid, trwy waed y cyfammod tragywyddol." Nid gweithred o allu oedd cyfodi Crist, ond gweithred Barnwr wedi ei foddloni. Trwy daro y Bugail fe aeth Duw yr heddwch am ei gael i fyny fore y trydydd dydd. Y mae holl ymgeledd a diogelwch yr eglwys yn mawredd y Pen-bugail. Yr wyf yn cofio i mi glywed am un o'r hen bobl pan oedd yn myned i ddyoddef yn achos ei grefydd, i un ofyn iddo pa fodd yr oedd hi arno. "Y mae yn ddiogel genyf," meddai yntau, "ei fod yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw; a phe byddai genyf fil o eneidiau yn rhagor, mi a'u rhoddwn iddo i gyd."

3. Y Bugail da ydyw. "Y mae y Bugail da yn rhoddi ei einioes dros y defaid." Yr oedd y defaid yn haeddu trengu i gyd, a chymerth yntau eu hachos mewn cyfammod; ac oddar y cyfammod hwnw y daeth yr ymadrodd, "Deffro, gleddyf, yn erbyn fy Mugail." Ni wn i ddim a allaf fi ddywedyd wrth eich bodd, ond ymdrechaf ddywedyd mor ddiachos tramgwydd ag y medraf. "Yr ydwyf," meddai'r Bugail, "yn rhoddi fy einioes dros y defaid." Fel pe buasai yn dywedyd, Y mae'r defaid yn haeddu eu damnio; yr wyf finnau yn rhoddi fy einioes drostynt. Y maent yn ngafael colledigaeth dan ddeddf Duw; ond mi af dan yr ergyd yn eu lle. Y mae yn amser dyrys yn awr i son am y prynedigaeth, ond meddyliwn y rhaid i ddyn fod yn dywyll iawn cyn y gall greu tywyllwch o gylch mater ag sydd mor oleu. Rhaid na wyddai neb yn

well pa fodd yr oedd hi na'r Prynwr ei hun; a dyna fel yr oedd ef yn dywedyd, "Yr wyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid." Y mae pawb wrth natur âg angeu yn ei grochan.

4. Un Bugail yw efe. "Mi a gyfodaf iddynt un bugail." Peth rhyfedd yw fod yr ysgrifenwyr sanctaidd yn cytuno, a hwythau yn ysgrifenu mewn cynifer o wahanol oesau; ond fel y dywedodd y gŵr doeth, "Geiriau y doethion ydynt megys symbylau, ac fel hoelion wedi eu sicrhâu gan feistr-iaid y gynnulleidfa, y rhai a roddir oddiwrth un bugail." Yr oeddynt i gyd dan ofal yr un Bugail; efe oedd y *super-intendent* dros y cyfan. "Codaf iddynt un bugail." "Un Duw sydd, ac un Cyfryngwr rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu." Os collir Mab Duw o'n cyfarfodydd, ni bydd yno wedi hyny ddim i bechadur gael. "Un bugail." Pa sawl bugail wyt ti yn fwriadu godi? "Un bugail." Wel, beth os gwrthodir hwnw? "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall." Pa sawl un sydd genym i ofalu am ein bywyd? Un, dim ond un. A gobeithio yr ä hi yn rhy ofnadwy i ti roddi hwnw dan dy draed, cyn yr äi oddiyma. Pa sawl un sydd genyf am fy mywyd? Un. Pa beth os gwrthodaf hwnw? "Nid oes aberth dros bechod wedi ei adael mwy-ach." Un Bugail sydd, ac y mae un yn ddigon. Y mae pob addasrwydd ynddo. Nid ei unigolrwydd yw'r achos fod yr eglwys arno ef yn unig, ond am fod un yn ddigon. "Myfi a godaf iddynt un bugail," a bydd un yn ddigon.

III. Ei weithrediadau fel Bugail.

1. Heb son am ei weithrediadau yn y prynedigaeth, soniwn am ei waith yn y cymhwysiad o'r iachawdwriaeth yn cyrchu y pechadur ato ei hun. Y mae ganddo udgyrn nefol, ac y mae yn eu rhoddi yn ngenau yr is-fugeiliaid; ac y mae yntau yn sefyll y tu cefn iddynt nes y bydd yr efengyl yn allu Duw; ac fel hyny y mae yn cyrchu pechad-uriaid ato ei hun. Pa mor belled y mae yn myned ar ol yr

hon a gollasid? "Hyd oni chaffo efe hi." Y mae ambell un wedi crwydro yn bell iawn, mor belled nes oedd allan yn hollol o weddïau yr eglwys; ond er hyny yr oedd y Bugail da â'i lygaid arni o hyd, ac efe a aeth ar ei hol hyd oni chafodd efe hi; ac efe a'i dyg hi yn ol ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen. Y mae holl rym cyfryngdod ar waith i'w cael yn ol. Y mae un dywediad ar fy meddwl, nis gwn a ellwch ei oddef. "Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?" Bu amser ar y drefn o gadw dyn ag yr oedd raid i Grist ddyoddef, ond y mae hwnw wedi myned heibio yn awr. Beth sydd yn awr? "Defaid eraill sydd genyf, y rhai nid ynt o'r gorlan hon: y rhai hyny hefyd sydd raid i mi eu cyrchu, a'm llais i a wrandawant; a bydd un gorlan ac un bugail." Bu amser pan yr oedd yn rhaid dyoddef, ond yn awr y mae yn rhaid cyrchu. Y mae wedi myned mor bell gyda'r drefn o achub, fel nad oes yn awr ond y cyrchu; ac y mae yn rhaid cyrchu. Y mae yn fyd difyr iawn yn y nef; ac eto, er fod digonoldeb o lawenydd ger ei fron ef, eto y mae yn cryfhâu wrth glywed am un pechadur yn edifarhâu.

2. Porthi y praidd. "Fel bugail y portha efe ei braidd; â'i fraich y casgl ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fynwes, ac a goledda y mamogiaid." Gorchwyl rhyfedd, pwysig, ydyw hyny. Mewn perthynas i'r porthi, y mae yn addas nodi a chofio mai Efe yw y wledd. "Fy nghnawd i sydd fwyd yn wir, a'm gwaed i sydd ddiod yn wir." Yr wyf fi, medd ambell un, yn methu deall y dduwinyddiaeth yna. Rhaid ei gwybod yn y profiad. Y mae y Pharisead yn ymborthi ar ei rinweddau ei hun; ond ar Grist y mae y praidd yn byw. Y mae Crist wedi ei wneuthur i ni gan Dduw yn ddoethineb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth. A ydym ni yn ei ddefnyddio yn yr hyn ydyw wedi cael ei wneuthur i ni gan Dduw? Os ydwyt yn byw ar Iesu yn yr hyn ydyw i bechadur, ti ddeui adref o anial-

wch y byd, ac fe dy welir yn ddiogel yn ei gorlan. Ni bydd y rhagrithiwr yn cael dim dan y weinidogaeth, ond bydd y praidd yn cael eu porthi ar uchel fynyddoedd Israel; a dyna wyf yn ei feddwl ydynt—amlygiadau uchel o'r Duwdod yn achubiaeth pechadur. O mor fawr ydyw colled y gwrthgilwyr ydynt wedi myned ar grwydr o'r borfa!

3. Gorchwyl arall y mae yn wneuthur fel Bugail yw rhoddi gorphwysfa iddynt ganol dydd. Y mae oriau pan y bydd y bugeiliaid yn gorfod casglu y praidd a'u harwain i'r cysgod rhag gwres yr haul ganol dydd.

(1.) Canol dydd argyhoeddiad. Dyna ganol dydd poeth iawn, pan oedd deddf danllyd y Nef yn cael taro ar dy enaid. Todda hyn grefydd y cnawd yn union. Y mae ambell un yma wedi bod â dychryn arno wrth fyned i'w wely, rhag ofn deffro yn y fflamau; ond yn nghanol y mellt a'r taranau, dyma y Bugail yn rhoddi bloedd dirion, "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, ac mi a esmwythâf arnoch."

(2.) Canol dydd profedigaethau. Yr oedd y ffwrn yn Babilon yn boeth iawn. Gwell i chwi blygu i'r ddelw aur a wnaethum i, meddai y brenin wrth y llanciau. Na, Arglwydd Dduw y nefoedd a'r ddaear a addolwn ni, meddent hwythau. Rhyw olwg ryfedd oedd eu gweled yn cael eu taflu i ganol y fflamau; ond yr oedd hi yn esmwythach o lawer arnynt hwy yn nghanol y tân nag oedd hi ar y brenin yn ei balas. Ond y mae y canol dydd poethaf heb ei enwi, sef,

(3.) Dydd mawr y farn, pan y bydd y defnyddiau gan wir wres yn toddi. A oes genych chwi beth a'ch deil yn dawel a diogel yno, pan y bydd breninoedd y ddaear, a'r gwŷr mawr, a'r cyfoethogion, a'r pencapteniaid, a'r gwŷr cedyrn, yn ceisio ymguddio yn yr ogofeydd, ac yn dywedyd wrth y mynyddoedd a'r creigiau, "Syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o wydd yr Hwn sydd yn eistedd

ar yr orseddfainc, ac oddiwrth lid yr Oen; canys daeth dydd mawr ei ddigter ef, a phwy a ddichon sefyll?" Beth ddaw o'r praidd yn y dydd mawr hwnw? Cânt orphwysfa gydag ef yn ei ymddangosiad. Bobl anwyl, gochelwch anturio gwynebu y dydd hwnw heb ryw Un i gynnal eich penau.

4. Gorchwyl arall y mae y Bugail yn ei wneuthur yw eu dychwelyd o'u gwrthgiliadau. (1.) Y mae enw y Bugail yn gysylltiedig â'u dychweliad. "Efe a ddychwel fy enaid." Beth yw dy sail i ddysgwyl hyny? "Er mwyn ei enw." Os collir y praidd, cyll y Bugail fwy na hyny—fe gyll ei enw. (2.) Efe a all eu dychwelyd gyda'r esmwythdra mwyaf. Yr oedd un o'r praidd unwaith wedi myned i grwydro yn rhyfedd trwy segura ar nen ei dŷ. Dyna oedd y dechreu. Nis gwn pa hyd y bu yn y drain a'r dyrysni, ond anfonodd yr Arglwydd brophwyd ar ei ol. Dechreuodd hwnw arno, gan adrodd trosedd nes y dywedodd yntau, "Euog o farwolaeth yw y gŵr a wnaeth hyn." Yna dywedodd y prophwyd, "Ti yw y gŵr." Yr oedd y troseddwr yn ddigon goleu i farnu, ond yr oedd yn methu a throi y peth ato ei hun. Felly y mae pob gwrthgiliwr. "Ti yw y gŵr," meddai y prophwyd; ac yna dyna yr euog yn ei le. Dyna un arall wedi tyngu a rhegu; ond edrychodd y Bugail arno, a beth fu y canlyniad? Aeth Pedr allan i wylo yn chwerw dost. Y mae yn y man y myn Duw iddo fod. Yr oedd un arall wedi myned dan luwch o anghrediniaeth, fel nad oedd o ddim lles dywedyd wrtho, "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir." Ni choeliai ef y dystiolaeth; ond aeth i'r cyfarfod cyntaf wedi hyny, ac yna dyna y Bugail yn dyfod i mewn, ac yn gwaeddi, "Tangnefedd i chwi." Pa fodd y bu hi arnat, Iesu mawr, yn ngardd Gethsemane? "Tangnefedd i chwi." Pa fodd y bu hi wrth yfed y cwpan hwnw? Y mae wedi ei yfed—"Tangnefedd i chwi." Pa fodd y bu hi arnat ar y groes, pan oedd y cleddyf yn dy galon? Y mae wedi ei foddi yn

fy ngwaed—"Tangnefedd i chwi." Ië, dyna'r dyn a regodd yn y llys. "Tangnefedd i chwi." Dyna'r dynion a'th adawsant. "Tangnefedd i chwi." Thomas, pa le y mae dy fys? Thomas, fe fu hoelion yn fy nhraed a'm dwylaw o'th achos di; ond mi ail-agoraf y clwyfau hyny eto cyn dy golli di. Fe fu y waewffon yn fy ystlys; ond mi agoraf y clwyf hwnw eto cyn y cei di farw yn dy anghrediniaeth. Erbyn hyny dechreuodd Thomas waeddi, "Fy Arglwydd a'm Duw."

5. Y gorchwyl diweddaf fydd ganddo i'w wneyd fel Bugail fydd y didoliad mawr yn nydd y farn; pan y bydd yn rhoddi y defaid ar ei ddeheulaw, a'r geifr ar yr aswy. Wele fi, a'r plant a roddodd Duw i mi. Y mae yn rhyfeddach fy ngweled i yno na neb. Myfi fu yn y tywydd trymaf —Myfi fu ar y groes. "Wele fi a'r plant." Pa le y mae y crefyddwyr gweiniaid? Y maent oll ar gael: "Wele fi a'r plant" a roddodd y Tad i mi. Fe fuont yn y drain a'r dyrysni; mi a'u cefais yn crwydro, ond mi a'u cyrchais yn ol. Ië, y rhai cryfaf? Ië, a'r rhai gwanaf hefyd: "Wele fi a'r plant" oll. Mi a'u cefais hwy yn y pyllau a'r tomenau; ond dyma hwy yn awr yn lân, "heb arnynt na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw." Mi a'u cefais yn estroniaid, y maent yn awr yn blant. Mi a'u cefais ar wasgar, y maent yn awr oll gyda mi. Mi a'u cefais yn euog, maent yn awr wedi eu clirio a'u cyfiawnhâu. Un peth eto: "Ar destament gwell o hyny y gwnaethpwyd Iesu yn fachnïydd." Os nad oes sicrwydd cadwedigaeth yn y cyfammod newydd, pa le y mae yn rhagori ar y cyfammod cyntaf? "Ni chyfrgollant byth; ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i."

Bobl, mentrwch ddyfod dan ofal y Bugail da. Byddant yn gofyn i chwi ar ol cyrhaedd adref, Pa fodd y daethoch yma? Pa fodd y daethoch yn ddiangol o blith y llewod a'r llewpardiaid? A'ch ateb dedwydd fydd, Y Bugail da a ofalodd am danom.

# PREGETH V.

## TRAGYWYDDOL RYDDHAD TRWY Y GWAED.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM ROBERTS, AMLWCH.*

*Mewn Cymdeithasfa yn y Bala yn 1819.*

HEBREAID ix. 12: "Nid chwaith trwy waed geifr a lloi, eithr trwy ei waed ei hun, a aeth unwaith i mewn i'r cysegr, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd."

Y MAE cysylltiad yr adnod flaenorol âg adnod ein testun fel hyn: "Eithr Crist, wedi dyfod yn Archoffeiriad daionus bethau a fyddent, trwy dabernacl mwy a pherffeith-

* Gan fod Cofiant galluog a chyflawn wedi ei gyhoeddi ychydig o flynyddau yn ol o'r Parch. WILLIAM ROBERTS, gan ŵr medrus, ac un wedi yfed yn helaeth o'i ysbryd fel pregethwr, nid oes anghen i ni yma ond dyweyd y bydd pob un a ddarlleno y ddwy bregeth yma o'i eiddo yn credu eu bod yn deilwng o hono. Nid oedd ond dyn cymharol ieuanc pan draddododd hwynt mewn Cymanfaoedd yn y Bala driugain mlynedd yn ol. Y maent yn dwyn i'n cof y bregeth gyntaf a glywsom ganddo yn Moriah, Caernarfon, yn adeg y *cholera*, pan ymwelodd yr haint difäol hwnw â'r dref y waith gyntaf. Ei destun oedd, "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol," &c. Yr oedd y gynnulleidfa yn lliosog iawn, noson waith, â gwedd ddifrifol arnynt, ac yntau ei hun yn fwy difrifol na neb o'r gwrandäwyr yn traethu pethau rhyfedd ac anghyffredin yn ei ddull gwreiddiol ei hun. Yr ydym yn cofio byth ei waith yn ail a thrydydd ddyweyd, fod llw Duw rhwng pechadur a'i ddamnio. Gwaeddai "Diolch" a "Bendigedig" gyda nerth a dylanwad anghyffredin; a byth ar ol hyny cynnyddodd yr awydd ynom am ei glywed ymhob man y caem gyfleusdra. Yr ydym yn cofio yn dda glywed sylw un o'r gweinidogion Gwyddelig oedd ar ymweliad â'r Gymanfa, pan welodd Mr. Roberts yn dyfod i ffrynt yr areithfan: "*A venerable sight*," meddai, yn yr olwg arno; a mwynhäodd yr oedfa yn fawr trwy gael ambell i damaid o'r hyn a ddywedai y pregethwr rhyfedd ar "Fe roddes Duw i'r Cenedloedd hefyd edifeirwch i fywyd."

iach, nid o waith llaw, hyny yw, nid o'r adeiladaeth yma; nid chwaith trwy waed geifr a lloi, eithr trwy ei waed ei hun, a aeth unwaith i mewn i'r cysegr, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd." Y mae yn hysbys i bawb a ddarllenodd y bennod hon, fod yr apostol yn profi fod Crist, trwy ei offrymiad unwaith o hono ei hun, wedi gwneuthur dybeniad neu roddi terfyn tragywyddol i'r gosodiadau a'r defodau fuont gynt mewn awdurdod. Amcan yr apostol yn y geiriau hyn oedd denu meddyliau yr Hebreaid i ymgylymu â goruchwyliaeth yr efengyl, ac i'w diddyfnu oddiwrth ordin hadau yr oruchwyliaeth seremonïol, fel na ddalier hwy drachefn dan iau caethiwed. Yr oedd gormod o ymlyniad yn rhai o honynt wrth yr hen oruchwyliaeth, a gormod o flys am ei seremonïau; ac y mae yr apostol yn dangos fod Crist a'r oruchwyliaeth newydd yn sylwedd o'r cysgodau gynt. Rhesyma na ddilëwyd dim heb osod peth "gwell" yn ei le. Os nad yw offeiriadaeth Aaron mwy yn ei grym, y mae y fath Archoffeiriad mawr wedi ei osod yn ei le. Y mae genym y fath Archoffeiriad mawr ar dŷ Dduw ag sydd yn anfeidrol ragori ar urdd Aaron. Os dilëwyd yr aberthau gynt, y mae genym Aberth gwell, anfeidrol well. Os nad yw yr allorau Iuddewig mewn grym, y mae yma allor anfeidrol well. Os yw y tabernacl ag oedd gynt yn anghenrheidiol wedi myned heb ddim o'i eisieu, y mae yma dabernacl mwy a pherffeithiach. Ac os nad yw y cysegr Iuddewig mewn grym heddyw, y mae y gwir gysegr yn agored ac mewn grym. Cafodd llawer o bethau eu trefnu er pan ddadguddiodd Duw gyntaf ei fwriad i achub dyn; ac yr oedd amryw bethau i gysgodi hyny. Yr oedd gan yr Iuddewon ddydd cymmod; ac ar y dydd hwnw yr oedd raid cael aberth dros bechod, a llawer o bethau eraill; ond byddai yn rhy faith yn awr i ni fyned o amgylch i sylwi ar holl gylch y seremonïau. Byddai yr archoffeiriaid penaf y dydd hwnw yn myned â gwaed y

creadur a leddid i'r tu fewn i'r llen ag oedd yn y babell. Ar y dydd mawr hwnw byddai yr archoffeiriaid yn myned â gwaed y creadur i'r tu fewn i'r llen at Dduw a'i drugareddfa; a byddent yn myned â chorff y creadur a aberthid, ac yn ei losgi o'r tu allan i'r gwersyll; ac yr oedd amryw olchiadau a phethau eraill yn ofynol. Ond dyna y mae ein testun yn arwyddocâu neu ddangos,—sef sylwedd yr hyn yr oedd mynediad Aaron i mewn i'r cysegr yn ei gysgodi. Trwy ei waed ei hun yr aeth Iesu i mewn i'r cysegr.

Gwnawn ychydig sylwadau ar rai pethau a ddysgir yn y geiriau:—

I. Y MAN YR AETH CRIST IDDO: sef i'r cysegr.

II. EI FYNEDIAD I MEWN I'R CYSEGR: "Aeth unwaith i mewn." Aeth llawer allan oddiyno, nad aethant byth i mewn mwy; ond y mae y geiriau hyn yn cyfeirio at Un sydd wedi myned i mewn i aros yno.

III. RHAI O DDYBENION CRIST YN MYNED I MEWN I'R CYSEGR.

IV. Y MODD YR AETH I MEWN: modd nacäol ar un llaw, a chadarnhäol ar y llaw arall. Yn nacäol, "Nid trwy waed geifr a lloi;" nid oedd neb wedi myned i mewn o'r blaen ond trwy waed felly. Yn gadarnhäol, "aeth Crist i mewn drwy ei waed ei hun."

V. Y CANLYNIAD I NI O'I FYNEDIAD I MEWN—y fraint a gafodd miliynau, ac a gâ miliynau eto, o'i fynediad i mewn: "Cael tragywyddol ryddhâd." Y mae rhyw nerth a mawredd ymhob un o'r geiriau. Crist yn myned i mewn i'r cysegr, ac yn myned i mewn trwy ei waed ei hun, ac yn derbyn i ni ryddhâd yno, a hwnw yn dragywyddol ryddhâd.

I. Y LLE YR AETH CRIST I MEWN IDDO: sef i'r cysegr.

Ystyr y gair cysegr, medd rhai, yw lle sanctaidd. Gan hyny, gellir dywedyd, Aeth Crist unwaith trwy ei waed ei

hun i mewn i'r lle sanctaidd. Y mae dau ystyr i'r gair sanctaidd. Pan ydym yn gweled y gair sanctaidd mewn rhai cysylltiadau, yr ydym i ddeall rhywbeth wedi ei neillduo at wasanaeth Duw. Yr oedd y deml felly yn sanctaidd, a gwisgoedd yr archoffeiriad yn sanctaidd, ac yr oedd llawer o bethau eraill yn sanctaidd, trwy fod Duw wedi eu neillduo at ei wasanaeth, er nad oedd dim sanctaidd yn perthyn iddynt yn eu natur. Bod yn sanctaidd yn ol yr ail olygiad yw, bod yn ddibechod; naill ai bod yn berffaith felly, neu fod felly mewn rhan. Y mae anian sanctaidd yn y credadyn, a bydd yr holl rai a achubir rywbryd mor sanctaidd a'r angylion, yn berffaith sanctaidd. "Fel y sancteiddiai efe hi," y rhoddodd Crist ei hun dros ei eglwys, "a'i glanhâu â'r olchfa ddwfr trwy'r gair." Wrth y cysegr yma y golygir nef y nefoedd; y drydedd nef. Y mae y nef yn lle, yn bod yn rhywle; ac i'r lle hwnw yr aeth Mab Duw yn bersonol. Ni wyddom ni ddim yn awr pa le y mae y lle sanctaidd hwnw; y lle sanctaidd, dedwydd, a drefnodd Duw i filiynau o drigolion y ddaear gael cartrefu ynddo byth. Teilynga yr enw "cysegr" mewn dau olygiad:—

1. Am fod Duw yn preswylio yno. Dyna y dull o ddywedyd a arferir yn yr ysgrythyrau. Nid yw yn cynnwys fod yr Arglwydd yn bod mewn rhyw fan yn fwy na'i gilydd; ond pan ddywedir fod yr Arglwydd yn preswylio yn y nefoedd, neu yn rhyw le gyda'i bobl ar y ddaear, yr ystyr yw, ei fod yn amlygu ei hun yno, a dangos gogoniant ei bresennoldeb yno. Pan y bydd dynion yn myned i ymofyn am ryw un mawr, at ei borth ac i'w dŷ yr ant i ymofyn am dano; ac felly y mae Duw wedi cyhoeddi, "Y goruchelder a'r cysegr a breswyliaf." Y mae yn gysegr yn

2. Oblegid nid oes dim pechod yno. Dylai y bobl sydd yn meddwl myned i'r nefoedd ymroddi i gael gwybod yn iawn am y nefoedd cyn myned iddi. Lle sanctaidd ydyw. Lle glân ydyw. "Nid ä yno ddim aflan, nac yn

gwneuthur ffieidd-dra." Glendid i gyd ydyw y nefoedd—glendid perffaith. Rhaid i ni gael natur ac ysbryd y nefoedd, a phrawf o hyfrydwch y nefoedd, pan ar ein taith trwy'r byd, onidê nid awn byth yno; a phe yr aem yno, ni byddai yn nefoedd i ni. Ffoledd mawr ydyw i un na chafodd bleser mewn dim ond sathru deddfau Duw dan ei draed, feddwl am fyned i'r nefoedd, ac yntau heb gael mynyd o hyfrydwch erioed yn mhethau y nefoedd. Fe fyddai mor rhesymol i alw y cythreuliaid o ganol uffern i fod yno. Y mae llaweroedd yn y byd na wnaethant erioed ran o waith y nefoedd; llewygent ar unwaith pe dyrchefid hwy yno. Llefwn ac ymdrechwn am gael ein parotoi i fyned yno. Llefwn am gael ein gwneyd yn gymhwys; ac os byddwn yn gymhwys, ni raid ofni y gyrir ni i yr un man arall.

II. Aeth Crist i mewn i'r nefoedd: "Aeth unwaith i mewn i'r cysegr." Aeth llawer i mewn yno, ond nid aeth neb erioed yn yr un dull a Iesu Grist. Y mae yr ysgrythyrau yn rhoddi dau olygiad i ni ar fynediad Crist i'r nefoedd: 1. Ei fynediad yno yn rhinwedd ei aberth. 2. Ei fynediad personol yno o fynydd yr Olewydd.

1. Aeth rhinwedd marwolaeth, neu rinwedd ufudd-dod Mab Duw, i'r nefoedd cyn i'w gorff fyned yno. Aeth i mewn i'r nefoedd yn rhinwedd ei ufudd-dod a'i iawn, cyn esgyn yno yn bersonol. "Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." Aroglodd ei aberth yn beraidd drwy yr holl nefoedd. Yr oedd rhai yn tystio ei bod wedi clirio yn y nef ar ol bod yn o dywyll. Ychydig cyn hyny yr oedd ef wedi bod yn gwaeddi, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist!" ond yn ymyl hyny darfu iddo waeddi, "I'th ddwylaw di, O Dad, y gorchymynaf fy ysbryd." Yr oedd yn tawelu ar ei feddwl tua min angeu. Nid wyf yn dywedyd fod y gwaith wedi ei orphen cyn angeu, ond yr

oedd yn dechreu tawelu tua min ei angeu. Dacw yr haul yn dechreu ymddangos i brofi fod ei farwolaeth yn effeithio ar y nefoedd; dyna lèn y deml yn rhwygo er dangos i bawb nad oedd ei heisieu mwy. Aeth Crist i'r nefoedd yn rhinwedd ei waed.

2. Aeth yno yn bersonol ymhen deugain niwrnod. Aeth yno o ran ei ddynoliaeth; hyny yw, aeth yno gorff ac enaid, ac y mae yno o hyd yn yr un sefyllfa.

III. Enwaf rai o'i ddybenion yn myned yno.

1. "I ymddangos ger bron Duw drosom ni." Dywedai, "Ni ddaethum i dori y gyfraith, ond i gyflawni." Ni wnaf ddim niwed i'r ddeddf na cholled i orsedd fy Nhad wrth achub pechadur. Nid oedd yn dywedyd wrth fyned i'r nefoedd at yr orsedd, Fy Nhad anwyl, yr oedd dy ddeddf yn rhy fanwl, onidê ni buasai y natur ddynol ddim yn syrthio, ac ni buasai raid i minnau ddyoddef. Nid oedd yn dyweyd nad oedd ef ddim wedi meddwl fod pechodau dynion gymaint ag oeddynt. Na, yr oedd yn addef y cyfan, a dyoddefodd yn eu lle; ac yna aeth i mewn i'r nefoedd i ymddangos ger bron Duw drosom ni. Rhai i brofi ein hachos o flaen gorsedd y nefoedd ydym ni oll; ac ni a gawn naill ai ein clirio neu ein condemnio yno rywbryd; a dyna unig sail ein gobaith am gael ein clirio ydyw, bod i ni Eiriolwr yno ag sydd wedi cymeryd gofal ein hachos, ar sail ei Iawn ei hun.

2. Aeth i'r nefoedd er profi fod ei waith ar y ddaear wedi ei orphen. Pan ddêl yr Ysbryd, "efe a argyhoedda y byd o gyfiawnder, am fy mod yn myned at fy Nhad." Dengys hyn i bechadur ofnog fod cyflawn groesaw iddo lechu yn ddiogel dan aden ei Waredwr, yr hwn sydd wedi ei dderbyn yn y llys.

3. I gael derbyn gwobr ei waith fel Cyfryngwr. "Derbyniodd roddion i ddynion; ïe, i rai cyndyn hefyd." "Wele fy ngwas a lwydda, efe a godir ac a ddyrchefir,

ac a fydd yn uchel iawn; megys y rhyfeddodd llawer wrthyt (mor llygredig oedd ei wedd yn anad neb, a'i bryd yn anad meibion dynion), felly y taenella efe genedloedd lawer, a breninoedd a gauant eu geneuau wrtho ef." Y mae yr Iesu yn uchel iawn yno. "Mi dywalltaf o'm Hysbryd ar dy hâd, a'm bendith ar dy hiliogaeth." Pan elo Ef i daenellu, daw y pechadur sydd yn methu pwyso ar ei aberth, a'r pechadur sydd yn ofni mai colli ei fywyd a wna, i deimlo o'i flaen. Dechreuodd ddefnynu ar y Cenedloedd gyda ei fod wedi esgyn i'r nefoedd. Os oedd ei waith yn myned adref at ei Dad yn peri i'r wawr dori a'r haul godi, y mae yn oleu ddysglaer yno eto, canys y mae Ef yno ar ddeheulaw y Tad.

IV. PA FODD YR AETH YNO: "Nid trwy waed geifr a lloi." Enwaf dri pheth na wnaethai gwaed geifr a lloi y tro i'w cyfarfod. 1. Nid oedd o'r natur iawn. 2. Nid oedd â digon o werth ynddo. 3. Nid oedd dim cyfammod am dano.

1. Nid oedd o'r natur iawn. Yr oedd eisieu gwaed rhyw un ag oedd yn un o'r teulu, yn un o'r brodyr. Yr oedd eisieu Cyfryngwr ag oedd yn gyfranog o'r un pethau a'i frodyr, i ddystrywio yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo. Gwaed o rin estronol oedd gwaed y geifr a'r lloi. Y mae gwerth rhyfedd yn y gair bychan hwnw, "O'r rhai yr hanodd Crist yn ol y cnawd." Dyma gysur ac anrhydedd rhyfedd. Yr oedd wedi myned yn gyfyng tua gardd Eden cyn cael yr addewid o Hâd y wraig i ysigo pen y sarph. Un o'n natur ni oedd Crist. Gwaed o'r un natur a gwaed y troseddwr a dalai i fyned i'r drydedd nef ar ei ran. Gwïalen wedi tarddu o gyff Jesse, a blaguryn o'i wraidd ef—o'r boncyff a'r gwraidd a haeddasai grino byth; ond fe dyfodd Gwïalen oddiyno, a ffrwythodd ddigon i'r nefoedd ar ran y pechadur, fel y gall wynebu drwy ffydd at y drugareddfa am ei fywyd.

2. Nid oedd dim gwerth digonol yn ngwaed y geifr a'r lloi. Y mae adnod arall yn rhoddi goleuni i ni ar hyn:

"Canys anmhosibl yw i waed teirw a geifr dynu ymaith bechod." Ond, O bendigedig, am y gwaed y mae Pedr yn son am dano! "Nid â phethau llygredig, megys arian neu aur, y'ch prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad." Peidiwch ag ofni fod dim twyll na diffyg yn y drefn. "Nid â phethau llygredig, megys arian neu aur, y'ch prynwyd, ond â gwerthfawr waed Crist." Buasai genych le i ofni yn wir pe buasech wedi eich prynu âg arian neu aur; neu â gwaed teirw, lloi, a geifr; "ond â gwerthfawr waed Crist." Dyma eiriau na fedr un angel ddyweyd gwerth eu cynnwysiad! "Gwerthfawr waed Crist!" Pechodau mawrion sydd gan rai; ond dyma werthfawr waed er eu maddeu: "gwerthfawr waed Crist, megys Oen difeïus a difrycheulyd."

3. Nid oedd yr un cyfammod wedi bod ynghylch gwaed geifr a lloi. Nid gwaed y cyfammod oedd y gwaed hyny; a phe buasai gwerth mawr ynddo, nid allasai Duw ei dderbyn am nad oedd cyfammod yn ei gylch; ond dyma waed a chytundeb wedi bod ynghylch ei dywalltiad.

V. Y FENDITH SYDD YN DEILLIAW ODDIWRTH HYN I NI: "Rhyddhâd." "Y mae y plant yn rhyddion." Dyma'r geiriau oedd ar yr orsedd y pryd hyny, "Gollwng ef yn rhydd, myfi a gefais iawn." Agorwyd carchar y rhai oedd yn rhwym. Ac os oes neb yn meddwl nad yw y gair "rhyddhâd" ddim yn ddigon o hŷd, mi ddywedaf ragor—"*tragywyddol* ryddhâd;" gan gael i ni, bechaduriaid, os yn blino ar fod yn y carchar, "dragywyddol ryddhâd." Mawrhawn a gwerthfawrogwn y rhyddid. Cofiwn nad allwn ni ddim cael y rhyddid hwn heb ei geisio gan yr Arglwydd.

1. Rhyddhâd o gyflwr drwg ydyw, sef rhyddhâd oddiwrth gondemniad, yn deilliaw drwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu.

2. Rhyddhâd oddiwrth lywodraeth pechod. Dyna y fath rai yw carcharorion Satan; y maent yn dawel foddlawn yn

y carchar; ond medr Duw fyned i'r carchar tywyll hwnw a'u rhyddhâu o'u bodd. Medr ddywedyd wrth y carcharorion, Ewch allan, nes y byddant yn brysio i fyned o'u bodd.

3. Rhyddhâd oddiwrth ddamnedigaeth ydyw; "Nid oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu."

4. Rhyddhâd o fod yn weision i bechod; hyny yw, ymbleseru mewn pechod a llygredd.

5. Rhyddhâd mawr yn more yr adgyfodiad. Bydd yr enaid duwiol yn cael ei ryddhâu yn angeu i fyned at Grist, ac i fwynhâu cymdeithas â Christ ac ysbrydoedd y cyfiawnion; ac yn y boreu y bydd yr udgorn yn canu, caiff ei gorff ei ryddhâu. Byddwn y pryd hwnw yn adnabod y Prynwr.

Nid oes genyf ond eich gadael i fyfyrio ar y gair "tragywyddol"—tragywyddol ryddhâd. Hwy a gânt eu bythol ryddhâu oddiwrth felldith y ddeddf; cânt eu cwbl ryddhâu oddiwrth deyrnasiad pechod. Y fynyd y bydd yr enaid yn cael ei ryddhâu, caiff waeddi, Ffarwel byth i felldith y ddeddf, ac i orthrymder pechod. Caiff ei godi fry i afael gwynfyd na ddygir byth mo hono oddiarno. Deil y corff i fyny byth, oblegid bydd yn gorff cyffelyb i'w gorff gogoneddus ef, yn gorff o'r un ddelw a chorff y Prynwr. Rhyddhâd, rhyddhâd, rhyddhâd tragywyddol. Rhyddhâd a modd i'w etifeddu a'i fwynhâu byth. Gobeithio y gallaf ddyweyd wrth bawb sydd yma, "rhyddion fyddwch yn wir."

## PREGETH VI.

### CRIST YN OGONIANT YN EI DEML.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM ROBERTS, AMLWCH.

*Yn Nghymdeithasfa y Bala, Mehefin 11—13, 1822.*

HAGGAI ii. 7: "Ysgydwaf hefyd yr holl genedloedd, a dymuniant yr holl genedloedd a ddaw; llanwaf hefyd y tŷ hwn â'm gogoniant, medd Arglwydd y lluoedd."

GALWYD y prophwyd hwn i ymarfer â'i weinidogaeth, ac i'r gwaith oedd yr Arglwydd wedi fwriadu ac wedi roddi i'w ofal, tua'r amser yr oedd Duw yn dychwelyd ei bobl o'u caethiwed yn Babilon, ar derfyn y deng mlynedd a thriugain, neu yn rhywle yn agos i hyny; a'r un dyben oedd ganddo drwy weinidogaeth Zecharïah, sef calonogi yr Iuddewon i fyned ymlaen gyda'u gwaith o ail adeiladu y deml yn Jerusalem. Yr oedd yr Arglwydd wedi addaw y gwnai hyny, ac yna y mae yn sicrhâu i'r rhai oedd yn dwyn y gwaith ymlaen o'i foddlonrwydd i hyny, a'i fwriad i'w gyflawni; ac y mae yn eu calonogi drwy amryw resymau.

1. Drwy ei fod wedi addaw ei bresennoldeb boddlongar gyda hwy. "Ymgryfhewch a gweithiwch; canys yr wyf fi gyda chwi, medd Arglwydd y lluoedd." Nid oedd yn dywedyd fel hyn, Fe anamlheir y gelynion; ac nid oedd yn dywedyd fel hyn chwaith er tueddu pleidiau y gelynion i beidio ag erlid, ac i beidio ceisio rhwystro y gwaith; ond

dywedai, "Wele yr wyf fi gyda chwi." Felly pan y byddwch chwithau yma yn gweithio gyda rhyw waith mawr, gofynwch a fydd yr Arglwydd gyda chwi; onidê chwi ddeuwch i warth yn y diwedd. Addewid werthfawr iawn ydyw hon, ac heb golli ei grym hyd heddyw. Addewid fawr yn yr Hen Destament ydyw, "Mi fyddaf fi gyda chwi." Y mae yn dywedyd hefyd mewn man arall, os bydd raid myned drwy y dwfr, mi fyddaf gyda chwi. Hefyd y mae yr un addewid fawr yn y Testament Newydd. Pan oedd yr Arglwydd Iesu yn anfon ei apostolion i bregethu yr efengyl, y mae yn dywedyd y byddai raid iddynt fod fel ŵyn ymhlith bleiddiaid; ac nid oedd ganddo ddim i'w addaw iddynt ond hyn, ac yr oedd hyny yn ddigon; yr oedd hyn yn ddigon mewn carcharau, mewn newyn, ac mewn noethni, ac mewn peryglon o bob natur.

2. Y mae yn dwyn ar gof iddynt y cyfammod oedd wedi ei wneuthur â hwynt: "Yn ol y gair a ammodais â chwi pan y daethoch allan o'r Aipht. Yr oedd gair Duw y pryd hwnw heb golli ei rym, er eu bod wedi bod ddeng mlynedd a thriugain yn Babilon.

3. Y mae yn eu calonogi drwy brophwydoliaeth felus, ryfedd, am yr Arglwydd Iesu, yr hwn oedd mewn amser ar ol hyny i ymddangos yma ar y ddaear mewn cnawd yn ein natur ni.

4. Y mae yn eu calonogi trwy ddyweyd y byddai mwy gogoniant y tŷ hwn na'r tŷ cyntaf; ac yr oedd hyny yn symud llawer o rwystrau o'r ffordd. Yr oedd y rhai oedd wedi gweled y tŷ cyntaf yn wylo, ac nid oedd y tŷ diweddaf yn eu golwg ond megys dim. Y mae yntau yn dywedyd mai eiddo ef yr arian, ac mai eiddo ef yr aur, a phe byddai eisieu y pethau hyny eu bod i'w cael; ond y mae yn dywedyd y byddai iddo ei lenwi â phethau rhagorach. Yr oedd y pethau mwyaf hynod ag oedd yn nheml Solomon ar ol, sef yr Urim a'r Thummim, a chwmwl y gogoniant; ond

ni a welwn bethau mwy na'r rhai hyny yn yr addewid yma: "Mi a ysgydwaf yr holl genedloedd, a Dymuniant yr holl genedloedd a ddaw; llanwaf y tŷ hwn hefyd â'm gogoniant, medd Arglwydd y lluoedd."

Yr wyf yn bwriadu sylwi ar dair rhan yn y geiriau:

I. YR YSGWYD: "Ysgydwaf yr holl genedloedd."

II. Y BROPHWYDOLIAETH ARDDERCHOG AM DDYFODIAD MAB DUW: "Dymuniant yr holl genedloedd a ddaw."

III. YR ADDEWID YN GANLYNOL I HYNY: "Llanwaf y tŷ hwn hefyd â'm gogoniant."

I. YR YSGWYD Y SONIR AM DANO YMA: "Mi a ysgydwaf yr holl genedloedd." Y mae y rhan fwyaf o honoch yn gwybod fod yr apostol yn ei lythyr at yr Hebreaid yn son am ysgwyd. Yr oedd yr Arglwydd yn ysgwyd mynydd Sinai pan oedd yn rhoddi ei gyfraith oddiyno. I'r dyben i'r llwythau weled gogoniant yr Arglwydd, yr oedd y mynydd yn crynu drwyddo o'u blaen; ac y mae yn addaw y byddai iddo ysgwyd eto. "Llef yr hwn y pryd hwnw a ysgydwodd y ddaear; ac yn awr a addawodd, gan ddywedyd, Eto unwaith yr wyf yn cynhyrfu nid yn unig y ddaear ond y nef hefyd." Mi a ysgydwais y ddaear y pryd hyny, ond mi a ysgydwaf y nefoedd a'r ddaear y tro yma. Ysgwyd y ddaear oedd ysgwyd y llywodraeth wladol, er cael lle i'r Siloh mawr, ac i sefydlu teyrnas y Gwaredwr ar y ddaear; ac ysgwyd y nefoedd oedd ysgwyd yr oruchwyliaeth seremonïol oddiar ffordd goruchwyliaeth efengyl y nefoedd.

"Ysgydwaf hefyd yr holl genedloedd." Dau ysgwyd mawr sydd yn bod, sef ysgwyd barnedigaethol, ac ysgwyd drwy'r efengyl. Y mae yr Arglwydd weithiau yn ysgwyd dynion drwy ei farnedigaethau i ryw ddoeth ddybenion, ac hefyd weithiau trwy ei air; a dichon fod y ddwy ffordd yn cael eu cynnwys yma.

1. Yr ysgwyd barnedigaethol. Y mae Moses yn dywedyd ddarfod i'r Arglwydd ysgytio Pharaoh a'i lu yn y Môr Coch.

Dyna ydoedd ysgwyd barnedigaethol. Yr oedd Pharaoh yn meddwl y cai ymladd â'r Arglwydd, ond ei ysgytio a gafodd yn y môr. Ni chafodd ond prin dynu ei gleddyf o'i wain. Hefyd dywedir mewn un man y bydd i'r Arglwydd ysgwyd yr annuwiolion oddiar y ddaear. Ni raid i'r Arglwydd ddim casglu rhyw lu mawr o filwyr i gael yr annuwiolion ymaith o'r ffordd. Ni raid iddo ddim ond ysgwyd tipyn arni. Hwyrach mai yn ei gwsg yn ei wely y bydd yr Arglwydd yn ysgwyd ymaith yr annuwiol, ac yn ei ddanfon i dragywyddoldeb. "Ysgydwaf hefyd yr holl genedloedd." Fe drefnodd yr Arglwydd yn ei ragluniaeth fod ymherodraethau mawrion yn meddu mwy o awdurdod ar y byd yn gyffredinol i fod y pryd hwnw nag un gallu llywodraethol sydd yn awr ar y ddaear; a hwyrach fod y geiriau yn cyfeirio at hyny. Yr ymherodraeth gryfaf a gododd oedd un y Caldeaid, a hono a ysgydwodd yr Iuddewon o'u gwlad; ond ysgydwodd yr Arglwydd yr ymherodraeth fawr gadarn hono drwy y Mediaid a'r Persiaid, i gael ffordd rydd i ddyfod â'i waredigion adref. Ymgododd yr ymherodraeth gref hono wedi hyny yn uchel iawn, ond ysgydwodd yr Arglwydd hi o'r ffordd trwy y Groegiaid, fel pe buasai yr Arglwydd yn dywedyd, Nid dyna y gareg a dorwyd o'r mynydd; am hyny ysgydwaf hwy eto er dangos rhagoroldeb teyrnas fy anwyl Fab. Ymgododd ymherodraeth Groeg wedi hyny yn uchel iawn, ac ysgydwodd yr Arglwydd hono wedi hyny drwy y Rhufeiniaid; ac wedi hyny ysgydwodd hono hefyd er ei holl nerth, er dangos mai teyrnas Iesu Grist yw y deyrnas nad ysgydwir byth, ac mai efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd. Ysgydwyd y llywodraeth o Judah drwy law gadarn y Rhufeiniaid, nes oedd yr Iuddewon yn gorfod dywedyd, Nid oes i ni frenin ond Cesar. Yr oedd hyny yn dangos fod y Siloh mawr wedi dyfod. Bu yn felus a gwerthfawr genyf feddwl am hyny lawer gwaith. Y mae yn sail gadarn i ni gredu yn dawel fod y Messïah y soniwyd am

dano fil o flynyddoedd cyn ei dd'od, wedi dyfod, a'i fod wedi cyflawni ei waith ar y ddaear.

2. Yr ysgwyd y mae Duw yn ei wneyd drwy'r efengyl. Gelwir pregethwyr yr efengyl gan rai yn aflonyddwyr y byd, ac nis mynwn er dim iddynt alw eu geiriau yn ol; ond dymunwn i'r pregethwyr aflonyddu yr holl ddaear, nes dwyn yr holl fyd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef. Pan y mae Duw yn ysgwyd drwy'r efengyl, mae yn ysgwyd dynion,—

(1.) I weled eu cyflwr damniol. Ni bydd Mab Duw yn anwyl byth i neb o honom heb ein hysgwyd i deimlo ein perygl; ni ddaw byth yn wrthddrych penaf ein dymuniadau heb i ni gael ein hysgwyd uwch ben ein colledigaeth. Peth sydd raid ei wneyd ar ddynion cyn eu hachub ydyw eu goleuo am eu cyflwr damniol. Rhaid gwneyd hyny ar bawb. Rhaid gwneyd yr un gwaith ar bawb. Nid wyf yn dyweyd y rhaid ei wneyd yn yr un modd, ond rhaid gwneyd yr un gwaith. Y mae yn natur ffydd etholedigion Duw weithrediad nad oes dim all ei wneyd ond cael golwg ar ein colledigaeth. Y mae mewn ffydd gadwedigol weithrediad nad oes dim modd i neb ei wneyd ond yn yr olwg ar ei gyflwr colledig.

Beth ydyw credu yn Mab Duw? Ffoi i gymeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen. Od oes arnoch eisieu gwybod pwy yw y bobl sydd yn y diogelwch, dyna pwy ydynt, ffoedigion. Rhai wedi ffoi am eu bywyd ydynt y rhai sydd yn credu yn Nghrist. Rhai wedi dianc rhag y dial. "Y rhai a ffoisom i gymeryd gafael." "Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion."

(2.) Y mae Duw yn ysgwyd y rhai hyny, nid yn unig i weled eu sefyllfa golledig, ond hefyd eu bod yn farw i bob peth o'u rhan eu hunain am waredigaeth. Iaith pechadur dan driniaethau yr Ysbryd Glân ydyw, "Pa beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf cadwedig?" Y mae wedi myned mor wasgedig ar ei enaid, nes y mae yn gorfod

gwaeddi, "Pa beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig?" Ni waedda felly am y ffordd i fod yn gadwedig nes y delo yr Ysbryd Glân i ddangos ei gyflwr iddo. Y mae yn ei weled ei hun yn agored i'r crogbren, nes y delo yr Ysbryd Glân i ddangos iddo y ddiangfa. Ni ddaw byth i ddeall *am* yr iawn ffordd nes y delo yr Ysbryd Glân i'w dangos iddo. A i feddwl am filoedd o feheryn, a myrdd o ffrydiau olew, neu ryw bethau felly, nes y dangoso yr Ysbryd Glân iddo y drefn fawr drwy Grist. Nid yw y pechadur yn yr olwg ar ei gyflwr colledig mor barod i ateb y cwestiwn hwnw, ag oedd y gŵr cyfoethog hwnw gynt pan y dywedai, "Mi a wn beth a wnaf." Y mae yma rai yn fy ngwrando wedi bod mewn amgylchiad na buasai ganddynt ddim ond gwynebu tragywyddol golledigaeth, oni buasai i wawr gobaith agor o'r nef arnynt. Gweddïwn am i'r Ysbryd ddyfod yma i ysgwyd.

II. Y BROPHWYDOLIAETH ARDDERCHOG SYDD YMA AM FAB DUW: "Dymuniant yr holl genedloedd a ddaw." Yr wyf yn cofio fod un o'r ieithwyr dysgedig wedi darllen y geiriau fel hyn, "A'r rhai dymunol o'r holl genedloedd a ddaw." Y maent yn o dda fel hyny, ond nid yn ddigon da. Fe ddaw y rhai dymunol o'r holl genedloedd i addoli yr Arglwydd yn mynydd Sïon, ond nid heb gymhorth. Hwy a ddeuant ar ddarfod am danynt. Y maent yn sicr o ddyfod; y mae elorau meirch ar eu hol. Y mae y geiriau yn felus iawn fel hyn—sef y daw y rhai dymunol o'r holl genedloedd; ond y maent yn felusach fyrdd o weithiau fel y maent yn ein Bibl ni, "Dymuniant yr holl genedloedd a ddaw." Y mae rhywbeth a wnelo yr holl genedloedd â Mab Duw. Cafwyd addewid am dano mor fore a gardd Eden. Y wraig yno oedd mam pob dyn byw, a had hono oedd Gwrthddrych mawr yr addewid. Adnewyddwyd wedi hyny yr addewid i deulu Abraham, "Ac yn dy had di y bendithir yr holl genedloedd;" a hyny mewn dwy ystyriaeth,—

1. Y mae pob dyn ar wyneb y ddaear yn dymuno peth nad yw i'w gael ond yn Iesu Grist, Mab Duw. Y maent dan eu dwylaw yn dymuno peth nad ydyw i'w gael mewn un man arall. Pe baech yn teithio rhanau pellaf ac eangaf y byd, y maent i gyd oll yn dymuno cael peth nad yw i'w gael ond yn Mab Duw. Y maent yn dymuno cael gwaredigaeth oddiwrth y beïau a'r euogrwydd sydd yn eu cydwybodau am bechu yn erbyn Duw. Y mae yn natur pob dyn i ddymuno cadwedigaeth a gwynfydedigrwydd, ond nid oes yr un dafn o hyny i'w gael ond mewn un man, sef yn yr Arglwydd Iesu Grist.

2. Ac yn fwyaf neillduol, am fod yr Arglwydd Iesu yn Wrthddrych dymuniad pawb fyddant wedi eu hargyhoeddi o'u cyflwr truenus. Dyma ydyw iaith pob dyn wedi ei wir oleuo felly am ei gyflwr, "Dyma fi yn euog, a dacw orsedd Duw fel olwyn o dân poeth, heb neb i sefyll rhyngwyf a hi." Dyna oedd yr afradlawn yn ei waeddi, "Pechais yn erbyn y nef ac o'th flaen dithau." Gall pechadur euog waeddi, Y mae baich ar fy nghefn nad oes neb ar y ddaear all ei symud oddiarno. Dyma un wedi crwydro nad oes neb ar y ddaear fedr ei ddwyn yn ol. Yr wyf wedi myned mor bell fel nad oes ond megys cam rhyngof ac angeu. Golygwch pe byddai yma ryw bechadur fel hwna; beth allem wneyd iddo ond gwaeddi wrtho, Dyma lon'd dy ddymuniad. Y pechadur tlotaf a gwaelaf yn dy olwg dy hun, dyma gymaint ag a elli byth ddymuno. Os euog wyt ger bron dy Farnwr, dyma Gyfryngwr wedi dyfod i'r adwy; yr hwn y mae ei waed wedi tawelu gorsedd y nef, ac agor ffordd rydd i bechadur nesu ati. "Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Os ydych yn meddwl ein bod am gyfyngu yr addewid am Grist, clywch ef ei hun yn gwaeddi, "Deuwch ataf fi bawb ag sydd yn flinderog a llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." "Y golledig a geisiaf." Nid oes yr un anghen ar bechadur nad oes yn Mab Duw ddigon ar ei

gyfer. Byddwn yn fuan yn cefnu ar y byd a'n holl gyfeillion, ond dyma Gyfaill gwell na brawd. Dyma Gyfaill a lŷn pan y byddo angeu yn gwneyd ei orchwyl. Bydd angeu yn wrthddrych i'w ddymuno genym os mewn undeb â Mab Duw. "Dymuniant yr holl genedloedd." Y mae yn ddymunol yn ei aberth, yn ddymunol yn ei swyddau, yn ddymunol yn y gwaith a wnaeth ar y ddaear; ond rhaid i ni brofi a gallu dyweyd y geiriau hyny, "Ië, y mae efe oll yn hawddgar."

III. YR ADDEWID A RODDWYD YN GANLYNOL I'W DDYFODIAD: "Llanwaf hefyd y tŷ hwn â'm gogoniant, medd Arglwydd y lluoedd." Cyflawnwyd yr addewid yn yr ystyr fwyaf llythyrenol. Wrth son am hyn, caf enwi y peth y cyffyrddais âg ef o'r blaen. Byddai y brophwydoliaeth hon yn anwireddus, oni buasai fod rhywbeth ardderchocach yn yr ail deml nag oedd yn y gyntaf. Ni bu dim yn yr ail deml o ran adeiladaeth yn ardderchocach nag oedd yn y deml gyntaf; ond dyna y peth oedd yn peri iddi ragori,—i Dduw mewn cnawd ddyfod iddi. Yr Arwydd neu y Cysgod gafodd teml Solomon i'w harddu a'i llenwi; ond, bendigedig fyddo Duw! dacw Arglwydd y lluoedd ei hun â thraed o bridd yn sathru llwch yr ail deml.

Peth arall gogoneddus fu yn yr ail deml ag oedd yn peri iddi ragori oedd hyn: Yr ail deml gafodd yr anrhydedd o dderbyn y defnyn cyntaf o waed yr Ail Adda dan ddeddf yr enwaediad. Ar bren y Groes y gorphenodd waedu, ond yn faban yn yr ail deml y dechreuodd. Hefyd llen yr ail deml gafodd yr anrhydedd o rwygo fel arwydd fod y nefoedd yn agored, ac wrth ei bodd yn dawel, pan oedd Iesu o'i fodd yn dyoddef; a bod y deml yn rhoddi i fyny ei goruchwyliaeth i Un mwy. Dyma Un mwy na'r deml wedi ei gael yn ei lle. Ni bu Iesu mewn un man erioed na adawodd ogoniant ar ei ol ynddo. Fe gododd y natur ddynol a fu mor isel a'r cythreuliaid yn y codwm, i uchder

gogoniant. Nid allodd neb ar ol y cwymp adferu gogoniant arni nes daeth yr Iesu; ond pan y daeth ef, efe a'i coronodd cyn troi ei gefn arni. Pa fodd hyny? meddai rhywun. Am fod dirmyg Crist yn fwy golud na holl drysorau yr Aipht. Nid oedd neb yn ddigon mawr i godi dirmyg i fyny, ond Crist. Un isel, ddirmygedig, oedd y groes. Dyna fel y dywedir am dani, "Melldigedig yw pob dyn sydd yn nghrog ar bren." Golwg isel iawn oedd ar y groes dan yr Hen Destament, ond yn y Testament Newydd y mae wedi ei chodi i fod yn uchel iawn. "Na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist." Y mae y groes wedi ei henwogi yn rhyfedd ganddo ef. Un isel iawn hefyd oedd y bedd; pwll llygredigaeth, tŷ y pryf, uffern, &c.; enwau isel iawn oedd ar y bedd. Ond bore y trydydd dydd, pan yr aeth y gwragedd i edrych y bedd, yr oedd yno ddau ŵr ieuanc yn bendithio y bedd; a hwy a ddywedasant wrth y gwragedd, "Nac ofnwch; mi a wn mai ceisio yr ydych yr Iesu; nid yw efe yma, canys cyfododd. Deuwch, gwelwch y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd." Nid, Deuwch, gwelwch y pwll; nid, Deuwch, gwelwch y llygredigaeth; ond deuwch, gwelwch y *fan*. Beth ydyw y bedd heddyw i'r credadyn? "Y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd." Ni bu Iesu mewn man erioed na chododd ef y fan hyny i fyny. Os gofynir i chwi pan fyddwch yn wynebu y glyn, I ba le yr ydych yn myned? Gellwch ateb mai i'r fan lle y gorweddodd yr Arglwydd. Hefyd, pa le bynag y delo Iesu i weithio ar bechadur, y mae yn gadael gogoniant ar ei ol. Pa le bynag y delo i weithio y mae ôl ei law yn anrhydeddu a gogoneddu y gwrthddrych y mae yn gweithio arno. Y mae yn codi y tlawd o'r llwch, ac yn dyrchafu yr anghenus o'r domen, i'w osod gyda phendefigion. Y mae yn codi ysgubion y byd. Dyna beth yw ysgubion, pethau na thalant ddim ond i'r domen, pethau na thalant ond i fod yn rhywle o'r golwg; ond pan y delo Iesu i weithio, y mae yn

gwneuthur y rhai hyny yn werthfawr a hardd. "A hyn fu rhai o honoch chwi, eithr chwi a olchwyd, a chwi a sancteiddiwyd, a chwi a gyfiawnhäwyd yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni." "Eithr nyni oll âg wyneb agored yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant." Nid oes eisieu dim ond tynu y gorchudd oddiar eich meddyliau, na welwch fodd i fyw, a hyny yn eich ymyl. Fe gafodd yr hen Simeon yr olwg yma arno yn y deml, nes oedd yn gwaeddi, "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd." Gollwng fi o fyd ag yr wyf yn agored i bechu ynddo. Yr oedd yn ngolwg ac yn nghyrhaedd ei ddigon. Gollwng fi o fyd na allaf wneyd ond ychydig mwy o wasanaeth ynddo drosot ti. Gollwng fi drwy afon angeu i ddyfod adref. Paham, Simeon, yr wyt ti yn gweddïo felly? "Fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth." Dyna ddigon. Y mae yr iachawdwriaeth yn y golwg ac yn y gafael. Da iawn fydd cael peidio ein damnio gyda'r byd; ond dyma fwy, dyma ddigon, cael gafael yn yr iachawdwriaeth.

# PREGETH VII.

## DERBYN Y CYMMOD.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. EBENEZER MORRIS.*

*Mewn Cyfarfod yn Machynlleth, yn Ebrill 1818.*

RHUFEINIAID v. 11: "Ac nid hyny yn unig, eithr gorfoleddu yr ydym hefyd yn Nuw trwy ein Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn yr awrhon y derbyniasom y cymmod."

GWNAWN rai sylwadau yn gyntaf, MEWN PERTHYNAS I'R CYMMOD.

II. Y LLWYBR Y MAE Y CYMMOD YN EI DRAFAELU I DDYFOD ATOM NI.

* EBENEZER MORRIS ydoedd fab i Dafydd Morris, Twrgwyn, Sir Aberteifi, yr hwn ydoedd yn bregethwr enwog a dylanwadol, er nad mor enwog a'i fab. Dywedir mai prif nodwedd gweinidogaeth y mab, fel y tad, oedd grymusder a helaethrwydd. Ni byddai byth yn terfynu ei bregeth, meddir, heb gael gafael ar y bobl; canys deallai ei wrandäwyr yn fuan mai wrthynt hwy y llefarai. Yr oedd ei lafur gweinidogaethol yn fawr iawn. Pregethai bron bob dydd o'r wythnos yn ei flynyddau olaf, a chadwai gyfarfodydd eglwysig. Byddai yn pregethu mewn tai annedd hyd y gymydogaeth, mewn angladdau, ac ar fwrdd llongau. Tybid yn wir na fyddai llwyddiant i long newydd oni phregethai Ebenezer Morris ar yr achlysur o'i *launchio*. Ystyrid na byddai yr un Gymanfa yn gyflawn yn Neheudir nac yn Ngogledd Cymru heb iddo ef fod ynddi, a mawr a hyfryd oedd "nerthoedd y byd a ddaw" fyddent yn dilyn ei weinidogaeth, ar feddwl a chalonau y gwrandäwyr. Y mae rhai yn fyw heddyw a dderbyniasant o'r gwlaw graslawn pan oedd Ebenezer Morris yn pregethu ar y "gwaed hwn" mewn Cymdeithasfa yn Nghaernarfon, yn y flwyddyn 1818, pryd y gwaeddodd gyda y llais rhyfedd oedd ganddo, "A ydych chwi yn nghysgod y gwaed, bobl? Lladd sydd ymhob man ond tu ol i'r gwaed." Bu farw yn 1825, yn nghanol ei ddyddiau, pan nad oedd namyn 56 mlwydd oed.

III. Y CANLYNIAD DEDWYDD O DDERBYN Y CYMMOD: "Gorfoleddu yn Nuw." Nid oes neb all orfoleddu yn Nuw heb gael ei wneuthur yn dderbyniwr o'r cymmod.

I. Y CYMMOD: "Trwy yr hwn yr awrhon y derbyniasom y cymmod."

Gair mawr pwysig ydyw y gair cymmod. Y mae yn tybied codiad i heddwch â Duw wedi ein syrthiad i gyflwr o anheddwch âg ef; cael ein gwirioneddol, sylweddol, gymmodi â Duw; cael dyfodfa i'w dangnefedd wedi bod allan o'i heddwch. Nid ydyw ond ofer i bechadur ddywedyd nad yw yn gymaint pechadur a rhywun arall; oblegid y mae yn bechadur, ac y mae felly wedi myned allan o hedd a ffafr Duw. Y mae derbyn y cymmod yn beth anhebgorol mewn gwir grefydd. Yr oedd dyn mewn sefyllfa ddedwydd pan y crëwyd ef. Cafodd ei greu mewn cyflwr cysurus iawn. Yr oedd heddwch rhyngddo â Duw, heb fod dim yn achos i'w gwneuthur yn anheddwch; ac felly y parhaodd nes i ddyn dori y cyfammod, yr hyn a'i darostyngodd i gyflwr o anheddwch â'i Dduw. Crëwyd dyn mewn sefyllfa ogoneddus a dedwydd iawn, ond nid hir y parhäodd yn y sefyllfa anrhydeddus hono; troseddodd gyfammod ei Dduw, gwrthryfelodd yn ei erbyn, cododd ei sawdl yn ei erbyn, a dibrisiodd ei ddaioni; ac y mae toriad yr hen gyfammod wedi ein dwyn ninnau i sefyllfa anghymmodlawn â Duw. Yr ydym oll o ran ein personau wedi myned allan o heddwch a ffafr Duw; ac y mae yn anmhosibl fod dim dedwyddwch yn nghalon neb heb ei bod yn heddwch rhyngddo â Duw. Darfu i droseddiad y cyfammod a'n cwymp ein gwneyd yn elynion Duw, ein taflu allan o'i gymmod; a thra y byddwn yn y cyflwr hwnw, y mae yn anmhosibl fod dim i ni ond trueni. Peth ofnadwy yw bod allan o heddwch Duw. Y mae pawb yn eu cyflwr natur allan o heddwch Duw, ac felly y maent yn agored i'w ddialeddau. Enaid gwerthfawr, a wyt ti yn meddwl cyfarfod â Duw yn y farn heb gael

dy heddychu âg ef? A wyt ti am ryfygu cyfarfod y Duw anfarwol, anweledig, hollalluog, a hollbresennol, yn dy gyflwr euog allan o'i heddwch?

II. FOD CYMMOD I'W GAEL, A'R FFORDD A DREFNWYD I'W GAEL: "Trwy yr Hwn yr awrhon y derbyniasom y cymmod."

Wedi i ddynolryw syrthio allan o heddwch Duw, nid oedd dîm ynddynt hwy yn achos o'r cymmod; ond o rad ras Duw yn unig y daeth; o ras penarglwyddiaethol Duw, heb ddim yn y pechadur i'w haeddu, y daeth trefn y cymmod. Cariad a gras yn unig all wneuthur cymmod rhwng pechadur a Duw. Y mae cymmod i'w gael. Yr ydym ni yn yr un byd ag y mae pechaduriaid yn cael eu cymmodi â Duw. Beth ydyw dechreuad y cymmod? gwreiddyn y cymmod? Daioni a gras Duw. Y mae o ran yr achos o hono o Dduw yn hollol, ac yn unig o'i benarglwyddiaethol ras, heb fod dim yn y pechadur yn ei haeddu. "Sef bod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." Dyma gymmod i bechadur. Cymmod llawn a rhad i ddyn wedi haeddu cael ei ddamnio yn dragywyddol. "Trwy yr Hwn yr awrhon y derbyniasom y cymmod." Y mae'r cymmod o ran ei wreiddyn wedi tarddu o ras Duw yn hollol, heb ddim yn y pechadur yn ei deilyngu; ac y mae wedi cael ei rym ymlaen drwy gyfryngdod Crist. Nid oes cymmod i'w gael ond trwyddo ef yn unig. Nid oedd yn gyfreithlawn i Dduw ymweled â dyn ar ol y cwymp ond trwy Gyfryngwr. Beth ydoedd dyben y Cyfryngwr mawr yn ymgnawdoli? Gwneuthur cymmod rhwng Duw a dynion. Beth oedd ei ddyben yn dyfod fel Meichiau i sefyllfa Cyfryngwr? Gosod i lawr sylfaen heddwch rhwng y nefoedd a'r ddaear, na byddai modd eu gwahanu byth. Beth oedd ei ddyben yn dyfod i barthau isaf y ddaear ac yn myned i ben Calfaria? Agor ffordd y cymmod. Y mae y cymmod felly o ran ei wreidd-

yn wedi dyfod o ras y Duw tragywyddol, heb fod dim yn y pechadur yn ei haeddu. Y mae o ran ei darddiad o drugaredd y Tad, ac wedi cael ei weithredu gan yr Ail Berson yn yr Hanfod Ddwyfol, ac yn cael ei gymhwyso gan yr Ysbryd Glân, a phechadur yn cael ei ddwyn o'i fodd i'w dderbyn. Nid ydyw clywed am y cymmod yn ddigon, na darllen am dano yn ddigon, na bod genym ychydig o amgyffredion am dano yn ddigon, ond rhaid derbyn y cymmod. Y mae derbyn y cymmod yn anhebgorol. Rhaid i ni dderbyn y cymmod cyn y cawn y canlyniadau dedwydd o hyny.

Ystyriwn ymha lwybr y mae pechadur yn cael ei ddwyn i dderbyn y cymmod.

1. Y mae y pechadur yn cael ei oleuo i weled ei fod allan o heddwch Duw; a phan y caiff ei oleuo i weled hyny, nid oes dim a'i tawela wedi hyny nes cael y cymmod. Nid oes dim yn yr holl greadigaeth fedr dawelu ei enaid ar ol iddo gael ei oleuo ei fod allan o heddwch Duw, ond cael y cymmod.

2. Y mae eglurhâd yn cael ei roddi yn meddwl y pechadur am drefn fawr y cymmod, fel y mae yn deilwng o Dduw ac yn addas i bechadur. Y mae trefn y cymmod wrth fodd ei galon.

3. Y mae rhyw ysbryd hyderus o ymroddiad i ymorphwys ar y drefn yn cael ei roddi ynddo. Nid ar gefn ei fod wedi cael ei ethol y mae yn dal i bwyso, ond ar ei fod wedi derbyn y cymmod. Y bobl ydynt wedi cael eu dwyn i heddwch â Duw ydynt yr unig bobl ddiogel a dedwydd. Cofiwn mai yn y byd yma y mae derbyn y cymmod.

III. Y CANLYNIAD DEDWYDD O DDERBYN Y CYMMOD: "Gorfoleddu yn Nuw."

Nid yn unig cael ein heddychu â Duw, ond hefyd gorfoleddu ynddo. Y mae dyn yn awyddus iawn am orfol-

edd, ac fe fyn orfoleddu mewn rhywbeth. Y mae yn ei anian i ddymuno cael gorfoledd. Ond dyma dir uchel rhyfedd iawn i'w gyrhaedd ar y ddaear yma, sef cael "gorfoleddu yn Nuw." Nid oes ond y credadyn yn unig all gael y fraint werthfawr yma. Ydyw, y mae pawb yn dueddol i orfoleddu, ac nid oes neb nad yw yn gorfoleddu mewn rhywbeth neu gilydd; ond y mae yn beth gogoneddus a rhyfedd iawn fod pechadur gwael ac euog yn cael ei gymmodi â Duw, a'i ddwyn i orfoleddu yn Nuw. "Eithr yn awr," fel y dywed Iago, "yr ydych yn gorfoleddu yn eich ymffrost. Pob cyfryw orfoledd drwg ydyw." Ceisiwn gan hyny fynu tir da i orfoleddu arno, a chael sail dda i'n gorfoledd. Mynwn rywbeth uwch a gwell na'r ddaear yn sail i'n gorfoledd. O drueni y rhai sy'n gorfoleddu a llawenychu mewn peth diddym! Pwy ydynt? Y rhai sydd heb adnabod Duw ac heb ymddiried ynddo. Y mae yr holl greadigaeth yn annigonol i ni lawenychu ynddi fel rhan ac etifeddiaeth i'r enaid. Nid oes dim cyfatebolrwydd ynddynt i anghenion enaid. Y mae y dynion sydd wedi derbyn y cymmod yn gorfoleddu ynddo. Fe sonir yn y bennod hon am ddau orfoledd eraill, sef "gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw," a "gorfoleddu mewn gorthrymderau;" ond dyma y gorfoleddu uchaf a rhyfeddaf y sonir am dano yn yr holl Fibl, "gorfoleddu yn Nuw;" gorfoleddu yn ei drefn i achub; gorfoleddu mewn cymmod â Duw; gorfoleddu yn ei gyfammod; gorfoleddu yn ei Grist; gorfoleddu yn ei addewidion; gorfoleddu yn ei briodoliaethau; gorfoleddu ei fod yn rhan i ni, ac y bydd yn rhan ac yn eiddo i ni, pan y byddo y ddaear a'i thrysorau wedi darfod. Ymgysegrwn i garu a gwasanaethu Duw, fel y cawn sail gref i orfoleddu ynddo.

## PREGETH VIII.

### CALON LAWEN YN WLEDD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. EBENEZER MORRIS.

*Mewn Cymdeithasfa yn Machynlleth, Awst 13eg, 1819.*

DIARHEBION xv. 15: "**Holl ddyddiau y cystuddiedig sydd flin; ond gwledd wastadol yw calon lawen.**"

Y MAE y geiriau yn cynnwys dau fater, sef bod holl ddyddiau y cystuddiedig yn flin, ac mai gwledd wastadol yw calon lawen. Y mae y rhan olaf yn crybwyll teimlad hollol wrthwynebol i'r rhan gyntaf. Y mae gwledd wastadol calon lawen yn gwbl wrthwynebol i holl ddyddiau blin y cystuddiedig.

Yn gyntaf, ystyriwn, BETH YDYM I DDEALL WRTH Y CYSTUDDIEDIG.

1. Y mae y gair cystuddedig yma yn arwyddo anfoddlonrwydd; ac y mae holl ddyddiau yr anfoddlawn yn flin. Ysbryd grwgnachlyd sy'n gwneyd dyddiau y cystuddiedig yn flin; ond gwledd wastadol yw calon lawen. Calon lawen yw meddwl boddlawn, tawel, a chysurus. Y mae holl ddyddiau y cystuddiedig, sef y dyn sydd dan lywodraeth ysbryd anfoddog a grwgnachlyd, yn flin. Er yr oll y mae yn fwynhâu, meddwl anghysurus ac ysbryd pigog sydd ganddo. Y mae cenfigen dan wraidd ei galon, ac felly nid yw yn mwynhâu dim cysur; y mae rhyw ofid yn ei oddiweddyd o hyd, ac o ganlyniad y mae ei holl ddyddiau

yn flin. Y mae ysbryd grwgnachlyd yn achosi mwy o niweidiau nag ydym yn feddwl, a dyfal wyliwn rhag bod dan lywodraeth yr ysbryd hwn; ysbryd ag sydd bob amser yn anfoddog a thuchanllyd, er holl gymwynasau rhagluniaeth Duw iddo. Y mae yr ysbryd blin hwn yn edrych o hyd ar yr ochr ddu i'r cwmwl. Peth pechadurus ac annoeth iawn yw bod dan lywodraeth y fath ysbryd tuchanllyd, oblegid y mae yn gwrthryfela yn erbyn trefniadau llywodraeth Duw. "Paham y grwgnach dyn byw, gŵr am gosbedigaeth ei bechod?" Nid oes ganddo ddim achos i rwgnach. Y mae ganddo lawer mwy o achos i ddiolch. Dylai gofio a theimlo ei fod wedi haeddu cael ei ddamnio, ac y galiasai fod mewn gwlad o boenau allan o gyrhaedd pob trugaredd. Nid oes ar bechadur yr un wêdd mor ffiaidd a phan y mae yn gwingo yn erbyn rhagluniaethau Duw. Y mae tymher duchanllyd yn difa holl gysur dyn. Nid oes ond blinder i'w gael oddiwrtho, yn y teulu ac yn yr eglwys. Meddyliwn ein bod wedi haeddu cael ein colli, yna bydd yn hawdd i ni ymostwng ger bron Duw yn wylaidd a diolchgar ein calonau. Y mae ysbryd grwgnachlyd yn sicr o dynu gŵg y nefoedd arnom. A holl ddyddiau y tuchanwr grwgnachlyd sydd flin; nid yw yn gallu mwynhâu dim llawenydd. "Ond gwledd wastadol yw calon lawen." Beth bynag a'i cyferfydd tra byddo dan lywodraeth meddwl boddlawn, y mae yn teimlo yn llawen.

2. Gellir bod yn gystuddiedig gan afiechyd. Gŵyr llawer drwy brofiad fod dyddiau y cystuddiedig pan mewn afiechyd, yn flin. Y mae yn dysgwyl y nos am y bore, a'r bore am y nos. Gŵyr pob claf pan mewn poen mai felly y mae. "Holl ddyddiau y cystuddiedig sydd flin." Cofiwch chwi sydd eto heb fod yn brofiadol o hyn, y deuwch i wybod hyn rywbryd. "Melus yn ddiau yw'r goleuni, a hyfryd i'r golwg yw gweled yr haul; ond pe byddai dyn fyw lawer o flynyddoedd, a bod yn llawen ynddynt oll, eto cofied

ddyddiau tywyllwch, canys llawer fyddant." Y mae dyddiau tywyllwch i ddyfod. Y mae cystuddiau i ddyfod, a chroesau i ddyfod, a byddai yn dda i ni gofio hyny yn ein hawddfyd. Y mae gan y dyn sydd yn rhydd oddiwrth gystuddiau achos i fod yn llawen, a dylai gydnabod tiriondeb yr Arglwydd tuag ato.

3. Y mae dyn yn gystuddiedig am ei bechodau. Y mae dyddiau y pechadur sydd ar lawr dan argyhoeddiad o'i euogrwydd yn ddyddiau blin cystuddiedig; ond hyd yn nôd i'r cyfryw, gwledd fydd calon lawen, neu gydwybod wedi ei glanhâu a'i thangnefeddu. O mor werthfawr fydd y fath deimlad! Bydd yn wledd wastadol. Wrth y galon lawen y meddylir cydwybod esmwyth. Nid oes neb yn teimlo yn fwy cystuddiedig a blin na'r dyn sydd wedi cael golwg ar ei berygl a'i drueni. Mae y gydwybod yn flin pan heb gael y feddyginiaeth. Cystuddiedig iawn ydyw dan deimlad o'i pherygl a'i thrueni. Ond calon lawen ydyw cydwybod wedi ei hiachâu a'i thawelu. Pan fyddo dyn dan argyhoeddiad am ei bechodau, gellir ei alw yn gystuddiedig; ac y mae ei holl ddyddiau yn flin. Enaid gwerthfawr! os na wyddost beth yw bod yn gystuddiedig oblegid pechod, ti a ddeui i wybod rywbryd. Nid oes na dyn na dynes na ddaw i wybod rywbryd, yn rhywle, beth yw blinder o herwydd pechu yn erbyn Duw. Pan dan argyhoeddiad am ei bechod bydd yn flin arno; a phan y byddo dan gystudd o herwydd ei gyflwr, nid oes dim yn yr holl greadigaeth a dawela ei gydwybod. Tydi, O ddyn, na wyddost beth yw bod yn gystuddiol o herwydd pechod, a ddeui i wybod rywbryd. Peth gwerthfawr ydyw i galon deimlo yn flinderog ac yn drwmlwythog, tra y mae modd ei hesmwythâu; tra y mae modd iddi gael symud ei baich.

Y mae y gair cystuddiedig yn y fan yma wedi cael ei gymeryd oddiwrth yr olwg ar ddyn wedi ei daro i lawr gan wres dan ei faich, nes ei fod bron yn llewygu yn ei wendid;

felly y mae dyn dan argyhoeddiad. Y mae wedi cael ei daro nes ydyw yn rhy wan i bechu; ac y mae yn flin arno drwy ddyddiau ei gystudd. Y mae y fath argyhoeddiad wedi gafaelyd yn ei gydwybod fel y gellir ei alw yn gystuddiedig. Y mae yn flin arno. "Diffygiais gan fy ochain; bob nos yr wyf yn gwneuthur fy ngwely yn foddfa; yr wyf yn gwlychu fy ngorweddfa â'm dagrau." Beth oedd yn achosi ei ddagrau? Cystudd am ei bechod. "Treuliodd fy llygaid gan ddagrau. Tra y tewais, heneiddiodd fy esgyrn o'm mewn." Yr oedd yn ceisio tewi yn lle cydnabod ei bechodau; ond "tra y tewais, heneiddiodd fy esgyrn gan fy rhuad ar hyd y dydd." Yr oedd yn ymboeni heb wybod am le o ddiangfa. "Trymhäodd dy law arnaf ddydd a nos; fy ìrder a dröwyd yn sychder haf." Gellir dyweyd am un felly yn ngeiriau y gŵr doeth, "Ysbryd gŵr a gynnal ei glefyd, ond ysbryd y cystuddiedig, pwy a'i cyfyd?" neu mewn iaith arall, Pwy fedr ddal dano? neu mewn geiriau eraill eto, Pwy ddaw âg ef i'r làn? Y dyn sydd wedi cael ei daro i lawr dan faich euogrwydd am ei bechod, y mae ei holl dyddiau yn flin. Pan ddaw argyhoeddiad o'r nef i wasgu ar ddyn am ei gyflwr, nid oes dim drwy holl natur all ei gysuro. "Megys finegr i'r dannedd, a mwg i'r llygaid, felly y mae ceisio canu caniadau i'r galon drist" yn ei ddyddiau blin. Pan y mae Duw yn archolli am bechod, efe a wna glwyf nad oes dim yn yr holl greadigaeth all ei wella. Nis gwn i, medd ambell un, ddim beth yw bod yn gystuddiedig oblegid pechod. Wel, gobeithio y deui i wybod, onidê daw yn dymhestl arnat cyn hir na bydd modd ei thawelu. "Ond gwledd wastadol yw calon lawen," neu gydwybod dawel, wedi cael ei phuro a'i thawelu drwy gymhwysiad o'r feddyginiaeth drwy'r gwaed. Nid calon lawen drwy wleddoedd y cnawd, ond calon wedi ei thawelu drwy y feddyginiaeth fawr gafwyd o'r nef. Daw pob enaid i gystudd rywdro o herwydd pechu yn erbyn Duw;

a'r galon hono sydd wedi cael ei meddyginiaethu sydd yn mwynhâu gwledd wastadol.

II Calon lawen: "Gwledd wastadol yw calon lawen."

Y mae y gair calon yn myned weithiau am y deall, weithiau am y serch, ac weithiau am y gydwybod. Medd-ai yr eglwys gynt, "Myfi sydd yn cysgu, a'm calon yn effro." Nis gallai ddyweyd ei bod yn cysgu yn drwm ac yn hollol. Yr oedd ei chalon yn effro: hyny yw, yr oedd ei chydwybod ar ddihûn. "Os ein calon a'n condemnia, mwy yw Duw na'n calon, ac efe a ŵyr bob peth." "Os ein calon," neu ein cydwybod, "ni'n con-demnia, y mae genym hyder ar Dduw." Os bydd ein cydwybod yn ein condemnio, y mae Duw yn fwy na'r gyd-wybod, ac yn fanylach i'n barnu, ac yn drymach i'n con-demnio. Nid, os ein calon a'n cyhudda, a ddywedir, ond "Os ein calon a'n condemnia." Nid oes neb nad yw ei gydwybod yn ei gyhuddo, neu o leiaf, dylai ei gyhuddo; oblegid y mae yn euog. "Os ein calon a'n condemnia" o ragrith, "mwy yw Duw na'n calon:" y mae ef yn ein condemnio yn drymach. Os ein cydwybod ni'n condemnia, y mae genym hyder ar Dduw, ein bod mewn cymmod âg ef, ac wedi ein derbyn i fod o nifer ei deulu. Calon lawen gan hyny ydyw cydwybod wedi ei thawelu drwy drefn fawr y nef, a mwynhâ y galon hono wledd wastadol. Y peth rhyfeddaf fu erioed ydyw fod modd i dawelu cydwybod pechadur euog. Ni ŵyr angylion syrthiedig ddim am y drefn hono. Ni chafwyd ffordd i'w dieuogi hwy; ond wedi i ddyn syrthio a myned yn euog, cafwyd trefn gyfreithlawn ogoneddus i dawelu ac i lawenhâu ei gydwybod. Un o ddyfnion weithredoedd Duw ydoedd trefnu ffordd i dang-nefeddu a dedwyddu cydwybod euog. Yr oedd yn fwy gorchwyl na dim ar a wnaeth erioed yn y nefoedd nac ar y ddaear. Y mae mwy o ryfeddodau yn nhrefn Duw i dawelu cydwybod euog nag sydd yn yr holl greadigaeth.

Er ein bod wedi ein condemnio yn llys barn, a'n bod yn haeddu cael ein colli, y mae gan Dduw yn ei iachawdwriaeth fawr fodd cyfreithlawn i dawelu a llawenychu cydwybod euog; a chalon lawen ydyw cydwybod wedi ei thawelu drwy rinwedd gwaed yr Oen; ac y mae y galon hono yn mwynhâu gwledd wastadol. Y mae y galon hono yn gallu edrych i fyny i'r nef, gan ddyweyd yn dawel mai Tad tyner sydd yno yn eistedd ar orsedd ei gariad, a bod Un yn ein natur ni ar ei ddeheulaw; a bod rhinweddau ei aberth nid yn unig yn boddhâu iawnder y nefoedd, ond yn tawelu enaid euog. Peidiwn a bod yn ddiystyr o gael cydwybod dawel, oblegid bydd yn werth mwy i ni na'r byd oll.

Rhaid fod calon lawen yn rhyw wynfyd arbenig a rhyfedd, pan feddylir am yr holl bethau oedd raid eu cael cyn y gellid ei thawelu. Nid oedd modd tawelu cydwybod heb i'r Gwaredwr ddyfod i lawr o'r nef i wisgo cnawd. Bu raid iddo ef roddi gwaed ei galon er cael modd i iachâu a llawenhâu yr euog. Nid ellid ei llawenhâu â ffrydiau o olew, nac â miloedd o aur. Rhaid oedd cael yr hyn a foddlonodd gyfiawnder, i dawelu y gydwybod. Y mae llawenydd calon dawel felly yn llawenydd a bery byth. Nid oes dim ond yr hyn a foddlonodd y Nefoedd all lawenhâu calon euog. Byddai pob peth arall yn rhy fach. Y peth penaf ellir gael ar y daith tua'r nef, a'r peth penaf ar ol cyrhaedd yno, fydd cydwybod dawel. Gwledd, a gwledd wastadol. Yr un gwaed oedd i gael ei daenellu dros y bobl ag oedd i gael ei daenellu dros y llyfr. Os oedd gwaed geifr a lloi "yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd, pa faint mwy y bydd i waed Crist, yr hwn drwy yr Ysbryd tragywyddol a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw, buro eich cydwybod chwi oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw?" Yr un gwaed fu yn offrwm difai i'r ddeddf, raid gael hefyd i buro y gydwybod. Gan fod yr Oen yn ddifai i Dduw, y mae yn ddigon hefyd i

bechadur euog. Y mae y nef wedi cael digon yn yr Iawn, ac y mae digon yn yr Iawn i'r gydwybod euog: felly gwledd wastadol ydyw calon lawen, sef cydwybod wedi cael ei thawelu drwy'r gwaed. Gellir dechreu gwledda yma ar y ddaear. Y mae llawer dysglaid o'r wledd i'w chael tu yma i'r bedd. Diolch am hyny!

1. *Tangnefedd.* "Tangnefedd Duw, yr hwn sydd uwchlaw pob deall, a geidw eich calon a'ch meddwl yn Nghrist Iesu;" ac y mae y tangnefedd hwnw yn un ag sydd uwchlaw pob deall, pob deall yn y nef ac ar y ddaear. Nid oes yr un deall fedr ddirnad ei werth, nac amgyffred dylanwad ei rinwedd yn yr enaid.

2. Y mae *llawenydd* yn ddysglaid arall felus iawn o'r wledd yma. Y mae pobl y byd yn awyddus iawn am gael llawenydd; ond nid oes dim llawenydd calon mwy cryf a phur na llawenydd y galon brofiadol o rinweddau trefn fawr yr Iawn. "Rhoddaist lawenydd yn fy nghalon mwy na'r amser yr amlhaodd eu hŷd a'u gwin hwynt." Pwy feddylir wrth y rhai aml eu hŷd a'u gwin? Gloddestwyr annuwiol y ddaear. Pan y mae eu hŷd a'u gwin yn amlhâu, y maent yn llawen iawn; ond y mae y llawenydd hwnw i ddarfod. Y mae llawenydd y duwiol yn fwy pur a pharhaol. Y mae yn tra rhagori ar lawenydd goreu y ddaear. O! 'r fath orfoledd ydyw i bechadur euog gael gafael ar ddiangfa, a'r ffordd i wynfyd bythol yn y byd a ddaw. Y mae gwledd wastadol gan galon felly. Y mae yr annuwiol yn flysig iawn am rhyw wledd; ond y mae gwledd yr annuwiol yn darfod, ac i droi yn chwerw. Bydd ei gydwybod yfory mor boenus ag erioed ar ol ei wledd fawr heddyw; ond gwledd wastadol ydyw gwledd calon dduwiol. Y mae yn wledd wrth fyw, a bydd yn wledd wrth farw, a gwledd yn y farn.

Os na wyddoch beth yw calon wedi ei meddyginiaethu a'i thawelu felly, y mae yn hyfrydwch mawr i feddwl a

chyhoeddi fod y fath galon i'w chael. Byddai yn well i'r annuwiol fod yn nghanol haid o gŵn cynddeiriog, na gwynebu barn â'i gydwybod yn euog; ond y mae modd iachâu a thawelu y gydwybod drwy yr iachawdwriaeth. Gwledd fawr oedd gwledd Ahasferus. Parhaodd am gant a phedwar ugain o ddyddiau; ond darfu dyddiau y wledd hono; ond gwledd wastadol ddiddarfod gâ calon dduwiol, gwledd cael cymdeithas y saint, a gwledd cael bod gyda'r saint yn y farn. Ni bydd gwleddoedd y byd ddim i'w cael y pryd hyny. Yr hyn fydd o'r pwys mwyaf y pryd hyny fydd cael cydwybod dawel i wynebu y frawdle. Y peth mawr, y peth penaf, i'w geisio ar y ddaear ydyw cydwybod wedi ei chlirio. Y mae modd ei chlirio yn awr. Y mae modd ei phuro o'i holl halogrwydd; ac os yw mor werthfawr ei chael ar y ddaear, beth fydd ei llawenydd pan wedi ei pherffeithio a'i dyrchafu i gael rhan o lawenydd y nef!

# PREGETH IX.

## OEN DUW.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. EBENEZER MORRIS.

*Yn Llanbrynmair, Ebrill 1819.*

IOAN i. 29: "Trannoeth, Ioan a ganfu yr Iesu yn dyfod ato; ac efe a ddywedodd, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd."

LLEFARWYD y geiriau hyn gan Ioan Fedyddiwr. Yr hwn y mae Ioan yn cyfeirio ato ydyw yr Arglwydd Iesu. Yr enw y mae yn roddi arno ydyw Oen Duw. Y gorchwyl y mae yn briodoli iddo ydyw tynu ymaith bechodau y byd. Y pryd y dywedir i Ioan lefaru y geiriau hyn oedd, drannoeth neu y dydd canlynol i'r dydd pan anfonwyd cenadau o Jerusalem gan yr Iuddewon i ofyn i Ioan pwy oedd efe? trannoeth wedi i hyny fyned heibio, cyfarfu Ioan yr Iesu yn dyfod ato, ac efe a lefodd yn effeithiol, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd."

I. Cyfeiriwn eich meddwl at y Person gogoneddus y cyfeirir ato yma. Y mae yn cael ei alw yn Oen mewn cyfeiriad at yr ŵyn seremonïol, sef oen y Pasg, ac ŵyn yr aberthau boreuol a phrydnawnol, ac oen y poethoffrwm. Y mae yn cael ei gyffelybu i Oen er dangos ei addfwynder a'i ddiniweidrwydd, a'i dawelwch mawr yn myned i'r ddalfa a'r lladdfa, ac yn myned drwy ei holl ddyoddefiadau.

1. I ddangos diniweidrwydd ei Berson a'i fywyd. Oen difeius a difrycheulyd ydoedd. Difeius yn ei holl agweddau, a difrycheulyd yn ei holl feddyliau. Difeius yn ei holl gam-

rau, a difrycheulyd yn ei holl syniadau. "Canys y cyfryw Archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, a didoledig oddiwrth bechaduriaid; ac wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd yn weddus i ni." Y mae yn cael ei alw yn Oen,

2. I ddangos addfwynder ei natur. Un addfwyn iawn ydoedd pan yma ar y ddaear; ac y mae mor addfwyn heddyw ag erioed. Er ei fod wedi newid ei le a'i sefyllfa, nid ydyw wedi newid ei ysbryd a'i gynneddfau. Gallwn anturio rhoddi ein hachos iddo. "Wele dy Frenin yn dyfod atat; cyfiawn ac achubydd yw Efe; y mae efe yn llariaidd, ac yn marchogaeth ar asyn, ac ar ebol llwdn asen."

3. I ddangos y budd mawr sydd i ni o'r hyn a gyflawnodd ac a ddyoddefodd. Yr oedd dau beth neillduol yn gwneyd oen y Pasg yn werthfawr—yn gyntaf, yr oedd y bobl yn cael diogelwch dan ei nawdd; ac yn ail, yr oeddynt yn cael gwledda arno. Yr oedd yr holl bethau ag oedd oen y pasg yn gysgodi i'w gweled yn Mab Duw. Nid oes dim cysgod i ni rhag cleddyf y dialydd, a dinystr tragywyddol, ond marwolaeth Crist, Oen Duw: ac nid oes dim ymborth sylweddol i enaid anfarwol ond cnawd a gwaed Crist.

4. Y mae yn cael ei alw yn Oen er dangos ei dawelwch yn myned drwy ei ddyoddefiadau. Nid yw yr oen yn cwyno pan yn y ddalfa. Un tawel iawn ydyw. Felly, fel oen yr arweiniwyd Iesu i'r lladdfa, ac fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiai, felly nid agorai yntau ei enau.

Oen Duw y gelwir ef, am ei fod o ddewisiad Duw, ac am ei fod yn gymeradwy gan Dduw, ac am ei fod yn ateb i ddybenion uchel Duw, sef i ddangos dysgleirdeb holl briodoliaethau ei natur ac uniondeb ei lywodraeth, pan yr oedd yn agor ffordd i achub pechaduriaid.

Oen Duw ydoedd; Efe oedd sylwedd yr holl ŵyn cysgodol i gyd. Dyna Dduw ei hun wedi dyfod i ddangos ei rodd gogyfer âg achub byd o golledigion. Dylem feddwl am hyn, oblegid Oen Duw yw efe. Mab Duw ydyw:

un cydradd â Duw. Oen Duw ydyw fel Cyfryngwr; ac y mae holl obaith pechadur yn seiliedig arno ef.

II. Y gwaith mawr sydd i gael ei wneyd ganddo; "tynu ymaith bechodau y byd." Y mae o ran ei Berson yn anfeidrol, ac y mae ei waith hefyd yn anfeidrol. Y mae y gair "byd" yn y lle hwn yn arwyddo yr holl bobl a gedwir; pob graddau o ddynion yn y byd, a ddygir i roddi eu pwys ar Fab Duw. Y mae y gair Hebraeg a gyfieithir yma "tynu ymaith," yn arwyddo hefyd, cymeryd i fyny; felly cymerwyd Iesu i fyny i'r dyben i dynu ymaith bechodau y byd. Y mae y cymeryd i fyny yn arwyddo rhoddi ysgwydd dan y baich. Yr oedd Crist yn cymeryd i fyny fel Machnïydd, ac yn rhoddi ei einioes i fyny fel iawn: yr oedd yn cymeryd i fyny yn ei waith yn ymroddi i sefyll yn neddfle pechadur, ac yn tynu ymaith bechodau.

1. Y mae ein pechodau wedi ein dwyn i'r fath druenusrwydd, fel ag y buasai yn well i ni fod heb gael ein gwneyd yn ddynion erioed os na chawn ein tynu ganddo oddiwrth ein pechodau. Y mae ein holl bechodau wedi eu hysgrifenu yn llyfr Duw, ac yn llyfr ein cydwybod hefyd; ac oni ddileir hwy allan o lyfr Duw, ac oni chlirir hwy allan o'n cydwybodau ninnau, buasai yn well i ni fod yn anifeiliaid a ddyfethir nag yn greaduriaid rhesymol,

2. Y mae pechod wedi ein dwyn i'r fath amgylchiadau o drueni fel nad yw yn bosibl i neb ond hwn, sef Oen Duw, eu tynu ymaith. Wedi i bechod ddyfod i mewn a darostwng y natur ddynol yn gyffredinol, nid oes neb yn y nefoedd nac ar y ddaear allasai roddi iawn drosto er ei dynu ymaith. Ond yn wyneb ei bod wedi darfod am danom ymhob man arall, wele Oen Duw yn dyfod i dynu ymaith bechodau y byd; ac nid yw y Bibl yn nodi neb ond y Person bendigedig hwn at y gorchwyl. Fe'i golygwyd ef yn arbenig at y gwaith yn yr addewid werthfawr yn Eden; ac fe'i dangoswyd yn neillduol yn yr aberthau,

ac yn y prophwydoliaethau; ac y mae yn cael ei egluro yn helaethach eto yn ngweinidogaeth yr efengyl. Cafodd ei amlygu yn neillduol iawn yn yr addewid yn Eden: "Gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti a'r wraig, a rhwng dy hâd di a'i hâd hithau; efe a ysiga dy ben di, a thithau a ysigi ei sawdl ef." Ti ddaethost ti o hyd i'w sawdl ef, i'w ddynoliaeth ef, ar bren y groes; ond yr oedd ei ben yn rhydd uwch dy gyrhaedd; eithr dystrywia ef dy holl ymherodraeth di. "Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall."

3. Gan mai un Person sydd wedi cael ei benodi at y gwaith pwysfawr o dynu ymaith bechodau y byd, felly pan y mae ffydd fywiol yn enaid y pechadur, y mae yr enaid hwnw yn edrych at y Person grasol hwnw heibio i bawb a phob peth arall. Y mae yr Ysbryd Glân, pa le bynag y mae yn gweithredu, yn cyfarwyddo meddwl y pechadur heibio i bob peth at Iesu y Cyfryngwr. "Hwn," meddai y Tad, "yw fy anwyl Fab, yn yr Hwn y'm boddlonwyd;" ac medd y credadyn, "Mi a wn i bwy y credais, ac y mae yn ddiogel genyf ei fod yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw."

"Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." 1. Yr oedd yn eu tynu yn addewidiol cyn iddo ymgnawdoli. 2. Yr oedd yn eu tynu yn sylweddol ar y groes. 3. Y mae yn eu tynu yn gymhwysiadol trwy ei efengyl. Y mae trwy ddylanwadau ei Ysbryd a goruchwyliaeth ei efengyl, yn tynu awdurdod ac effeithiau pechod oddiar yr enaid. Efe oedd yn tynu ymaith bechodau drwy ddylanwad y seremonïau; efe oedd yn eu tynu ymaith drwy wneuthur Iawn ar y groes; ac efe yn gymhwysiadol sydd yn eu tynu ymaith yn awr.

Nid oes genym yr un sail deg i feddwl fod ein pechodau wedi eu tynu ymaith o ran eu melldith a'u damnedigaeth, onid ydynt wedi cael eu tynu ymaith o ran eu halogrwydd a'u llywodraeth oddiar yr enaid yn awr, yma ar y ddaear.

## PREGETH X.

### DUW YN CYDWEITHIO A DYN.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. GRIFFITH SOLOMON, LLANBEDROG, SIR GAERNARFON.*

*Yn Nghymdeithasfa Machynlleth, Awst 19, 1821.*

SALM cxxvii. 1, 2: "Os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ, ofer y llafuria ei adeiladwyr wrtho: os yr Arglwydd ni cheidw y ddinas, ofer y gwylia y ceidwaid. Ofer i chwi ofer-godi, myned yn hwyr i gysgu, bwyta bara gofidiau: felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd."

Y MAE yn anhawdd dyfod i benderfyniad pa un ai y brenin Dafydd ai rhywun arall a gyfansoddodd y Salm hon. Os efe a wnaeth, darfu iddo ei rhoddi i Solomon ynghylch adeiladiad y deml. Yr oedd y tŷ hwnw mor fawr, nes oedd yn rhy anhawdd myned âg ef ymlaen heb gael cyfarwyddyd oddiwrth yr Arglwydd. Nid oedd

* Yr oedd y Parch. G. SOLOMON yn enedigol o ardal Brynyrodyn, ger Caernarfon. Argyhoeddwyd ef pan yn ddyn ieuanc gwyllt trwy weinidogaeth Mr. Jones o Edeyrn. Yr oedd yn ŵr cadarn nerthol mewn corff a synwyr cyffredin, ac yn un o'r darllenwyr goreu yn ei oes. Dengys y bregeth hon o'i eiddo mai nid dyn cyffredin ydoedd; yr oedd gweddusrwydd a lledneisrwydd yn ei holl ymwneyd â phethau da yr efengyl. Dywedai Mr. Parry o Gaer ei fod yn rhagori fel esboniwr ar y cyffredinolrwydd yn ei oes. Clywsom ef unwaith yn pregethu ar Job a'i helyntion yn dra darluniadol a difyr. Cafodd ei ordeinio yn y flwyddyn 1836. Teithiodd lawer trwy Dde a Gogledd; ac ar un o'i deithiau y cymerwyd ef yn glaf o'r clefyd y bu farw o hono pan tua Merthyr; ond cyrhaeddodd adref i farw, pan yn 66 mlwydd oed. Y mae ei ddelw yn amlwg ar y bregeth hon. Yr oedd rhanau hanesyddol yr Hen Destament yn dra chynnefin iddo, a defnyddiai hwy gyda deheurwydd anghyffredin.

wiw ymddiried i holl ddoethineb Solomon gyda gwaith mor fawr. Duw a roddodd y cyfarwyddiadau ymhob ystyr, onidê ni chyflawnasid byth y gwaith. Yr oedd raid ei wneuthur yn ol y portread, fel yr oedd Moses i wneyd y babell yn yr anialwch. "Gwel," meddai yr Arglwydd wrth Moses, "ar wneuthur o honot bob peth yn ol y portread a ddangoswyd i ti yn y mynydd." Felly rhaid i ninnau gael crefydd oddifewn, ac ymarweddiad addas i'r grefydd hono oddiallan, onidê fe'n diarddelir am byth yn y farn. Yr oedd y brenin Dafydd yn gweled ac yn teimlo nad oedd yn bosibl myned â'r adeilad ymlaen heb gael cyfarwyddiadau gan yr Arglwydd. Dichon ei fod yn meddwl am adeiladau ag oedd llawer wedi gychwyn, ac wedi methu eu gorphen, am nad oedd yr Arglwydd am iddynt lwyddo. Yn y dyddiau ar ol y diluw, aeth y bobl ynghyd âg adeiladu tŵr heb ofyn i'r Arglwydd; ond erbyn eu bod yn dechreu adeiladu, aeth yn ddyryswch arnynt. "Wele," meddai yr Arglwydd, "y bobl yn un, ac un iaith iddynt oll; a dyma eu dechreuad hwynt ar weithio; ac yr awrhon nid oes rwystr arnynt am ddim oll ar a amcanasant ei wneuthur. Deuwch, disgynwn, a chymysgwn eu hiaith hwynt, fel na ddeallant iaith eu gilydd." Ac felly y bu: aeth yn wasgarfa arnynt ar hyd wyneb yr holl ddaear. A'r ffordd yr oeddynt hwy yn meddwl myned ymlaen, dyna a'u stopiodd; eu dull o geisio myned i fyny a'u tynodd i lawr. Y mae addysg i'w gael oddiwrth hyn. Y mae llaweroedd o ddynion yn meddwl am gael eu dyrchafu yn y peth a'u tyn i lawr. Wrth ddechreu codi eu tŵr mawr yr oeddynt yn meddwl y byddai i hyny eu cadw gyda'u gilydd rhag myned ar wasgar, ond trwy hyny bu eu gwasgariad yn fwy; ac yr oeddynt yn bwriadu ennill iddynt enw, ond drwy hyny fe attaliwyd eu holl amcanion. Felly hefyd y bu ar Hïel y Betheliad am ryfygu myned i adeiladu Jericho; fe laddodd yr Arglwydd ei fab hynaf y diwrnod y gosododd y sylfaen i lawr, a'i fab ieuengaf y diwrnod y

gosododd efe ei phyrth hi. Y mae llawer wedi bod yn ceisio adeiladu heb help yr Arglwydd; ond heb fendith yr Arglwydd ni bydd dim llwyddiant. "Os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ, ofer y llafuria yr adeiladwyr wrtho: os yr yr Arglwydd ni cheidw y ddinas, ofer y gwylia y ceidwaid;" sef dinas Jerusalem, a phob dinas arall; bydd yr holl waith yn myned o amgylch yn ofer. Bum yn meddwl lawer gwaith am y trefydd a'r dinasoedd mawrion. Nid yw y ceidwaid fawr o beth ynddynt eu hunain, eto dan fendith yr Arglwydd y maent yn cadw y ddinas yn rhyfedd iawn. "Ar dy furiau di, Jerusalem, y gosodais geidwaid, y rhai ni thawant ddydd na nos yn wastad; y rhai ydych yn cofio yr Arglwydd na ddystewch, ac na adewch ddystawrwydd iddo, hyd oni sicrhao, ac hyd oni osodo Jerusalem yn foliant ar y ddaear." Y mae yn drugaredd fawr iddo osod gwylwyr felly; rhai ni thawant ddydd na nos, hyd oni osodo efe Sïon yn ben moliant ar y ddaear. Hyd hyny, na ddystawa. Y mae Ef wedi gosod gwylwyr ar y muriau, ond ni wnant ddim heb Dduw. Y mae eisieu Duw ei hun ar y maes heddyw. Y mae y pregethwr mwyaf a fu erioed wedi tystiolaethu nad allai wneuthur dim heb Dduw. Pan oeddynt yn Corinth yn ymryson pwy godid i fyny, y mae yr apostol yn dywedyd, nad yw yr hwn sydd yn planu ddim, na'r hwn sydd yn dyfrhâu, ond mai Duw yw yr hwn sydd yn rhoddi y cynnydd. Ni bydd cynnydd heb ei fendith Ef. Er holl ddoniau pawb, rhaid iddo Ef ddyfod i anfon y gair i'r galon. "Os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ, ofer y llafuria yr adeiladwyr wrtho; os yr Arglwydd ni cheidw y ddinas, ofer y gwylia y ceidwaid. Ofer i chwi fore-godi a myned yn hwyr i gysgu, a bwyta bara gofidiau;" oni bydd i Dduw fendithio y llafur fe fydd y cwbl yn ofer. Dywed Solomon nad yw y rhedfa yn eiddo y cyflym; y mae yn wir mai y cyflym sydd yn ei chael, ond fe all dori ei gymmalau ar y ffordd. Ac nid eiddo y cadarn yw y rhyfel. Eiddo

pwy yw y rhyfel ond y cadarn? Ond gall Duw beri i galon y cadarn doddi ynddo. Yr oedd gan Jehosaphat fyddin o gedyrn, eto dyna fel yr oedd yn dywedyd, "O ein Duw ni, oni ferni di hwynt? canys nid oes genym ni nerth i sefyll o flaen y dyrfa fawr hon sydd yn dyfod i'n herbyn, ac ni wyddom ni beth a wnawn; ond arnat ti y mae ein llygaid." Yr oedd ganddo lawer o fyddinoedd cedyrn, eto nid oedd ganddo ddim i'w wneyd ond troi at yr Arglwydd. Ac nid yw y byd yn eiddo y doethion. Y mae llawer o rai tra annoeth wedi ennill llawer yn y byd. Na chyfoeth yn eiddo y pwyllog, na ffafr yn eiddo y cyfarwydd. Y mae llaw yr Arglwydd yn y pethau hyn i gyd. "Ofer i chwi fore-godi, myned yn hwyr i gysgu, bwyta bara gofidiau; felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd."

Gallai fod y geiriau, "hûn i'w anwylyd," yn cyfeirio at enw Solomon. Y mae yn cael ei alw Jedidïah; hyny yw, anwylyd yr Arglwydd.

"Os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ, ofer y llafuria yr adeiladwyr wrtho." Nid yw yr adeiladwyr i roddi i fyny eu gwaith; oblegid trwy i ni fod gyda'r gwaith, y bydd yntau gyda ni i gydweithio. Arferwch chwi y moddion, ac fe geidw ef y ddinas a'r gwylwyr hefyd; ac felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd. Y mae yn rhaid planu a dyfrhâu, ac felly y daw y gwaith i ben. "Efe a roddes rai yn brophwydi, a rhai yn apostolion, a rhai yn fugeiliaid, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn athrawon, i berffeithio y saint i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist, hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw, yn ŵr perffaith at fesur oedran cyflawnder Crist." Trwy arfer y moddion a ordeiniodd efe, efe a ddaw â'r gwaith i ben.

Yr athrawiaeth sydd i'w dysgu oddiwrth y geiriau hyn yw, fod pob moddion yn annigonol heb fendith Duw arnynt, a bod yr Arglwydd yn bendithio y moddion a'r ordinhadau a drefnodd efe i ddyfod â'r gwaith i ben; ac mai ein

dyledswydd ni ydyw arfer y moddion, a dysgwyl wrtho ef am lwyddiant y moddion. Y mae arfer y moddion heb ddysgwyl wrtho ef am y fendith yn eilunaddoliaeth; ond y mae dysgwyl wrth Dduw heb arfer y moddion yn rhyfyg a rhagrith. Gweddïwn am i'r Arglwydd ein harwain ar lwybr ein dyledswydd. Ni waeth i ni, medd ambell un, roddi heibio ddysgwyl wrth Ragluniaeth. Wel, ynte, eistedd di i lawr, ac edrych a ddaw Rhagluniaeth atat ti. Ni wiw i ni ddysgwyl y daw Rhagluniaeth byth atom ni i borthi ein segurdod. Fel hyn y dywed yr Apostol Paul,—"Y neb na weithio, na fwytäed chwaith." Mae yn debyg fod rhyw "gasgliad" yn cael ei wneyd gan yr eglwysi yn y dyddiau hyny at gynnal gweiniaid tlodion; ac os byddai rhyw dlawd na fynai weithio er yn gallu gweithio, y mae yr Apostol yn dywedyd na fwytäed chwaith; hyny yw, na chaed fwyta o ffrwyth y casgliad. Y mae yn Lloegr Glwb a elwir y "*Foresters' Club,*" i gynnal eu haelodau pan y byddant allan o waith; ond os äi rhywun i ofera a diogi, a pheidio gweithio er fod ganddo waith i'w wneyd, a gallu i weithio, ni roddent ddim er cynnal hwnw. A dyna lwybr yr Arglwydd yn nhrefn ei ragluniaeth; y mae am i ni weithio, gan addaw bendithio ein llafur; a rhoddi hâd i'r hauwr a bara i'r bwytäwr. Dywed rhai hefyd am bethau crefyddol fel hyn:—Os ydwyf wedi fy ethol, mi fyddaf yn sicr o gael myned i'r nefoedd. Wel, byddi. Ond ïe, meddai y dyn; ac mi gâf fyw fel y mynwyf. Pa beth wyt ti yn feddwl wrth hyny? Cael byw fel y myni? Wel, pa un bynag ai peidio a gweddïo, ai gweddïo; pa un bynag ai credu yn Nghrist ai peidio. Paid druan a thwyllo dy hun; nid äi di byth i'r nefoedd fel yna. A minnau wedi cael fy ethol? Ië. A minnau yn un o wrthddrychau y cariad mawr? Ië. Nid aeth Duw â neb erioed i'r nefoedd y ffordd yna. Ethol i sancteiddrwydd a wnaeth Duw. Ethol i fod yn un ffurf a delw ei Fab ef. Fel hyn y dywed

eraill, Os nad wyf fi wedi fy ethol, ni waeth i mi yn y byd pa beth a wnaf, yn uffern y byddaf ar ol marw. Ni ddysgodd Duw erioed y fath athrawiaeth a hona i ti. Pa le y clywaist ti fod Iesu y Gwaredwr, Mab Duw, yn gwrthod neb erioed? Ni fethodd iachâu neb erioed. Y mae wedi cyhoeddi, "Pwy bynag a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." Ac onid yw hyny yn ddigon i ti? Os nad oes arnat ti eisieu trefnu rhyw ffordd i ti dy hun, os nad wyt am wneyd cynllun i ti dy hun, os nad wyt am dynu y llywodraeth o law Duw, nis gwn i paham yr wyt yn ymhela ac yn ymholi am hyny; pan y mae Iesu wedi dyweyd yn eglur, "Yr hwn a ddêl ataf fi nis bwriaf ef allan ddim." Am hyny, cynnorthwyer ni i ddefnyddio y moddion, ac i ddysgwyl wrtho ef am y fendith. Y mae gwaith a gwobr yn gysylltiedig â'u gilydd; a'r pethau a gysylltodd Duw, nac ysgared dyn. Y mae Duw wedi cysylltu y ddau beth hyn, sef arfer y moddion a chael y fendith. Y mae wedi trefnu y moddion, ac wedi addaw y fendith. Nid pa beth a all Duw ei wneuthur sydd i ti son am dano, ond pa beth a ofyn efe i ti wneyd. Ond ïe, medd y dyn, fe all fy achub i yn angeu, fy achub wedi i mi fyw fel hyn hyd y diwedd. Gall, efe a all fy achub ryw ddwyawr cyn fy marw. Gall, fe all dy achub, ddau fynyd cyn dy farw. Duw yw efe. Ond a wna efe hyny yw y pwnc? A oes genym ryw sail i ddysgwyl y fath beth? Gallai ef wneyd llawer o bethau na wna byth mo honynt. Gallai ein cynnal heb i ni fwyta, ond ni wna efe byth y fath beth. Nid ar y peth all efe wneuthur yr wyt ti, bechadur gwael a rhyfygus, i bwyso, ond ar y peth a fyn efe i ti ei wneuthur. Ni waeth i ni pa mor wael ydyw y moddion os Duw a'u trefnodd; bydd efe yn sicr o fyned â'i waith ymlaen. Crybwyllwn rai siamplau o hyn: Naaman y Syriad oedd yn ddyn cadarn nerthol, a thrwyddo ef y rhoddasai yr Arglwydd ymwared i Syria; ond yr oedd yn wahanglwyfus. A dywedodd rhyw

lances fechan o wlad Israel, "O na byddai fy meistr o flaen y prophwyd sydd yn Samaria!" Parhâu y mae y llances i ddyweyd o hyd, "O na byddai fy meistr o flaen y prophwyd sydd yn Samaria; canys efe a'i hiachâi ef o'i wahanglwyf." O'r diwedd clywodd y brenin beth oedd y llances yn ddywedyd, ac ysgrifenodd lythyr at frenin Israel. Erbyn hyny dychrynodd brenin Israel, a rhwygodd ei ddillad, a dywedodd, "Ceisio achos y mae efe yn ein herbyn; ai Duw ydwyf fi pan anfonai ef ei was ataf i'w iachâu?" Ond fe glybu Eliseus, ac anfonodd at frenin Israel, a dywedodd wrtho am iddo anfon Naaman ato ef, ac y cai wybod fod Duw yn Israel. A daeth Naaman a'i lu at y prophwyd; ond nid aeth y prophwyd allan ato. Nid wyf yn meddwl fod hyny yn ddim anfoes. Efe a anfonodd genad at Naaman, i ddyweyd wrtho, "Dos ac ymolch saith waith yn yr Iorddonen. Sorodd yntau yn wyneb hyny, a dywedodd, Onid oes genym ni yn Syria gystal afonydd a hwythau? Digiodd, ac aeth ymaith, a dywedodd, "Wele, mi a feddyliais ynof fy hun y daethai efe allan, ac y safai efe, ac y galwai ar enw yr Arglwydd ei Dduw, ac y gosodai ei law ar y fan, ac yr iachâi y gwahanglwyfus. Onid gwell Abana a Pharpar, afonydd Damascus, na holl ddyfroedd Israel? Onid allaf ymolchi ynddynt hwy ac ymlanhâu? Felly efe a drodd ac a aeth ymaith mewn digter." Felly y mae llawer yn rhyw sori, ac yn dywedyd, Onid allwn ni weddïo gartref? Ond pe baent yn gweddïo, ac yn gweddïo llawer gartref, hwy a godent allan oddiyno yn amlach. Ond perswadiodd ei weision Naaman, ac efe a aeth ac a ymolchodd saith waith yn yr Iorddonen; "a'i gnawd a ddychwelodd fel cnawd dyn bach, ac efe a lanhäwyd." Fe welodd ar unwaith fod Duw yn Israel, ac nad oedd Duw arall ond efe. Pa fodd bynag, nid aeth i ymgynghori â Duw arall, ac nid ymgrymodd i un Duw arall. 'Wel, ïe, yr Iorddonen a iachaodd Naaman.' Ië, dyna oedd trefn Duw. Oni buasai hyny,

gallasai ymolchi ynddi ganwaith, a bod yn wahanglwyfus. Yr wyt ti wedi bod gyda chrefydd er ys talm; ond pe buasid yn gofyn i ti, A ydwyt wedi gwella? Nac ydwyf, atebi dithau; y mae yr hen wahanglwyf yn fy mlino o hyd. Wel, rho i fyny ynte. Na wnaf; y mae y dyfroedd yn dygymmod â mi yn dda iawn.

Felly hefyd yn achos Hezecïah. Clefychodd ef hyd farw. Fe drodd ei wyneb at y pared. Daw yn fwlch atom ninnau na bydd wiw i ni droi at yr erchwyn na'r pared cyn bo hir, os na bydd genym Un arall i droi ato. Trodd Hezecïah at ei Dduw; ac, meddai Duw, "Mi a glywais dy weddi, ac mi a chwanegaf at dy einioes bymtheng mlynedd." Wel, gan ei fod wedi cael y fath addewid am bymtheng mlynedd, fe fydd byw bellach hyny o amser er gwaethaf pob cythraul sydd yn uffern. Na, y mae moddion i'w defnyddio eto; ac fe orchymynwyd iddo gymeryd swp o ffigys, a'i roddi ar y clwyf. Yr un Duw a estynodd ei ddyddiau ddarfu hefyd drefnu y moddion er ei iachâd a'i gryfhâd. 'Ië,' medd un arall, 'y moddion a'i hiachaodd ef.' Nage, buasai yr afiechyd yn sugno ei holl waed i gyd er yr holl ffigys, oni buasai fod y swp ffigys o drefniad Duw.

Hefyd ynghylch caerau Jericho. Yr oeddynt i fyned o amgylch y ddinas saith waith; ond nid oeddynt i waeddi hyd y seithfed tro. Nid oeddynt i wneuthur dim ond chwythu trwy y cyrn hyrddod hyd y seithfed tro. Ond ar y seithfed tro y seithfed dydd, hwy a floeddiasant, a daeth y caerau i lawr ar unwaith. Arddeled Duw ei efengyl nes y delo caerau annuwioldeb i lawr. Beth oedd y chwythu yn y cyrn hyrddod? Nid oedd yn ddim ynddo ei hun, ond gan ei fod o drefniad Duw, atebodd y dyben.

Hefyd am y briodas yn Cana yn Galilea. Cafodd yr Arglwydd Iesu ei wahodd i'r briodas hono. Priodas foesol drefnus iawn oedd hi. Wrth ei chrybwyll, dyna sydd genyf i'w ddangos, y cysylltiad sydd rhwng arfer y moddion

a ordeiniodd Duw â chael llwyddiant. Fe ddarfu y gwin yn y briodas. Gorchymynodd Iesu am iddynt lenwi y dyfrlestri â dwfr; a chydag iddynt wneyd hyny, fe drodd y dwfr yn win o'r fath bereiddiaf. Nid oedd ryfedd, fel y dywedodd un, i'r dwfr droi yn win yn ngolwg Iesu, oblegyd yr oedd ef wedi hen feistroli y dwfr o'r blaen wrth y Môr Coch a'r Iorddonen. Gweddïwch am iddo eto amlygu ei nerth gyda'r moddion!

Hefyd cofiwch am Lazarus o Bethania. "Pe buasit ti yma," meddai ei chwaer, "ni buasai farw fy mrawd." Wel, meddai yntau, Fe "adgyfodir dy frawd drachefn." "Myfi a wn," meddai hithau, "yr adgyfodir ef yn yr adgyfodiad yn y dydd diweddaf." Yna, meddai yr Arglwydd Iesu, "Myfi yw yr Adgyfodiad a'r Bywyd." Fel pe buasai yn dywedyd, Myfi fydd yn adgyfodi yn y dydd diweddaf; ac os gwelaf yn dda, paham nad allaf ei adgyfodi ef yn awr? Er profi ei fod yn ddyn, fe wylodd gyda'r chwïorydd galarus; ac er profi ei fod yn Dduw, fe waeddodd, "Lazarus, tyred allan." A gall ofyn i gythreuliaid yn awr, "Pa le y dodasoch chwi ef?" A gall godi y marw yn fyw. Ië, meddid, y mae ei gorff yn drewi bellach. Nid yw hyny ddim i Iesu.

Pan oedd Eliseus yn glaf o'r clefyd y bu efe farw o hono, daeth Joas brenin Israel i waered ato ef, ac a wylodd ar ei wyneb ef, ac a ddywedodd, "O fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel a'i farchogion. Ac Eliseus a ddywedodd wrtho ef, Cymer fwa a saethau; ac efe a gymerth fwa a saethau. Ac efe a ddywedodd wrth frenin Israel, Dod dy law ar y bwa. Ac efe a roddodd ei law. Ac Eliseus a osododd ei ddwylaw ar ddwylaw y brenin. Ac efe a ddywedodd, Agor y ffenestr tua'r dwyrain. Yntau a'i hagorodd. Yna y dywedodd Eliseus, Saetha. Ac efe a saethodd. Dywedodd yntau, Saeth ymwared yr Arglwydd, a saeth ymwared rhag Syria; a thi a darewi y Syriaid yn Aphec, nes eu difa

hwynt. Hefyd efe a ddywedodd, Cymer y saethau. Ac efe a'u cymerodd; ac efe a ddywedodd wrth frenin Israel, Taro y ddaear. Ac efe a darawodd dair gwaith, ac a beidiodd. A gŵr Duw a ddigiodd wrtho, ac a dywedodd, Dylesit daro bump neu chwech o weithiau, yna y tarewsit Syria nes ei difa; ac yn awr tair gwaith y tarewi Syria." Felly y mae ein hamynedd ninnau yn rhy fyr i daro fel y dylem; i guro wrth orsedd trugaredd.

Gallasai y wraig wan o'r dyferlif gwaed wneuthur llawer gwell esgusodion nag a allwn ni i'n cadw draw oddiwrth yr Iachawdwr. Hi a aeth drwy y dyrfa er gwaethaf pob peth, ac a gyffyrddodd âg ymyl ei wisg ef; a gwybu Iesu fyned rhinwedd allan o hono, a gwybu hithau hyny hefyd. Mi glywais am y Parch. Rowland Hill iddo unwaith ar gymundeb, pan yn rhanu y bara a'r gwin, adael o'r neilldu un hen wraig heb gael dim. Dywedodd hono wrth ryw chwaer am grybwyll hyny i'r cyfranwr. "Chwi a wnaethoch yn dda goffa," meddai yntau, "er iddi ei gael. Y mae Iesu heddyw yn y dyrfa; ac os na chawsoch beth ganddo, y mae yn barod i roddi; gelwch arno yn awr, nid yn unig am y bara a'r gwin, ond am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol." Yr ydych yn cael yr ordinhadau, ceisiwch y fendith hefyd.

# PREGETH XI.

## TYSTIOLAETH YR YSBRYD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. DAVID GRIFFITHS, SIR BENFRO.*

*Yn Llanbrynmair, Mehefin, 1822.*

RHUFEINIAID viii. 16: "Y mae yr Ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw."

Y MAE yr Apostol yn nechreu y bennod hon, ymysg pethau eraill, yn dangos y nodau a'r arwyddion wrth ba rai y mae adnabod plant Duw. Y mae yn egluro hyny oddiwrth eu rhodiad; a hyny yn neillduol ac yn gyffredinol. Y mae yn dangos pa le y maent, sef yn Nghrist; ac yn ganlynol i hyny, dengys eu rhodiad, sef eu bod "yn rhodio, nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd." Nid rhai yn rhodio yn ol chwantau llygredig y cnawd ydyw plant Duw. Y mae llawer yn meddwl eu bod yn blant i Dduw ac

* Mewn lle o'r enw Glanrhyd, yn Mhlwyf Nefern yn Swydd Benfro, y bu y Parch. DAVID GRIFFITHS yn trigiannu. Fel y canlyn y dywed Mr. Hughes yn y *Methodistiaeth* am dano, "Yn yr eglwys fechan hon y cartrefai y Parch. David Griffiths, Llantwood, yr hwn y mae ei glod trwy yr holl eglwysi. Neillduwyd ef yn y flwyddyn 1814, a bu farw yn 1845. Bydd coffadwriaeth y cyfiawn hwn yn fendigedig, yn enwedig yn y rhanau uchaf hyn o Sir Benfro, am flynyddoedd lawer." Clywsom ei fod yn dwyn mawr zel gyda'r Ysgol Sabbothol, ac yn holwyddorwr medrus ac effeithiol. Cawsom y fraint unwaith o'i glywed yn pregethu o flaen Mr. Elias am 10 o'r gloch mewn Cymanfa yn y Bala; ei destun ydoedd, "Fel yn enw Iesu y plygai pob glin," &c. Yr oedd nerth a hyawdledd yn ei draddodiad. Prawf y bregeth uchod fod ei weinidogaeth yn felus ac adeiladol i'r saint.

yn byw yn Antinomaidd, o rodiad croes i ddeddfau Duw; ond nid plant Duw ydyw y rhai hyny. Dyna y fath rai ydyw plant Duw; rhai "yn rhodio yn ol yr Ysbryd"—yn ol cynhyrfiadau a thueddiadau yr Ysbryd Glân. Y mae yr Apostol wedi hyny yn profi yr un peth oddiwrth eu cyfeillgarwch neu eu cymdeithas â Duw. Y maent yn nesâu at Dduw fel at eu Tad. Y maent yn eon ar ei drugaredd; ac y maent weithian yn ei alw yn Dad. Ac y mae yr Ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'u hysbryd hwy eu bod yn blant.

Y mae yma hefyd yn profi eu bod yn blant i Dduw oddiwrth dystiolaeth yr Ysbryd. Y mae gan y duwiol brawf triphlyg o hyn,—sef tystiolaeth y gair, tystiolaeth ei gydwybod, a thystiolaeth yr Ysbryd Glân. Y mae'r gair yn dangos pa fath rai yw plant Duw o ran eu hanian, o ran eu hiaith, o ran eu bywioliaeth, ac o ran eu hymarweddiad. Y mae y gair yn desgrifio yn eglur iawn pa fath rai yw plant Duw; ac yn ganlynol i hyny y mae cydwybod y cristion yn tystiolaethu am ei brofiad ei fod i raddau yn cyfateb i ddarluniad y gair; ac er nas gall ddyweyd ei fod yn cyfateb yn llawn, gall dystiolaethu ei fod yn dymuno hyny; ac yn ganlynol i hyny y mae yr Ysbryd Glân yn nerthu yr enaid i ddarllen darluniad llyfr Duw, er cael prawf ei fod yn blentyn i Dduw. Y mae llaweroedd yn meddwl fod yr Ysbryd yn tystiolaethu eu bod yn blant i Dduw, pryd nad ydynt. Na feddylied neb fod yr Ysbryd yn tystiolaethu yn groes i'r gair. Y mae tystiolaeth yr Ysbryd a thystiolaeth y gair yn cyfateb yn berffaith. Trwy Ysbryd Duw y llefarwyd y gair, ac y mae yr Ysbryd yn sefyll at bob iod o'r gair; a bydded i'n hysbryd ninnau allu ateb, megys yn adseiniol i'r gair. Y mae pob un sydd ganddo y dystiolaeth hon yn wirioneddol ynddo ei hun, yn wirioneddol blentyn i Dduw.

Ystyriwn ar ba olygiadau y gellir dywedyd fod gan yr Arglwydd blant:—

1. Y mae ganddo Fab o dragywyddol genedliad, sef Crist, a neb o'r cyfryw ond Crist. Y mae Crist yn Fab Duw er tragywyddoldeb. "Pryd nad oedd dyfnder y'm cenedlwyd, cyn bod y ffynnonau yn llawn o ddyfroedd; cyn sylfaenu y mynyddoedd, o flaen y bryniau, y'm cenedlwyd; cyn gwneuthur o hono ef y ddaear, na'r meusydd, nac uchder llwch y byd. Pan barotodd efe y nefoedd, yr oeddwn i yno; pan osododd efe gylch ar wyneb y dyfnder; pan gadarnhaodd efe y cymylau uwch ben; a phan nerthodd efe ffynnonau y dyfnder; pan roddes efe ei ddeddf i'r môr, ac i'r dyfroedd na thorent ei orchymyn ef; pan osododd efe sylfeini y ddaear, yna yr oeddwn i gydag ef, megys un wedi ei feithrin gydag ef; ac yr oeddwn yn hyfrydwch iddo beunydd, yn ymlawenhâu ger ei fron ef bob amser; ac yn llawenychu yn nghyfanneddle ei ddaear ef; a'm hyfrydwch oedd gyda meibion dynion." Y mae y Mab tragywyddol yn rhagori gymaint ar y creaduriaid ardderchocaf a wnaeth Duw ag ydyw anfeidroldeb yn rhagori ar feidroldeb.

2. Y mae ganddo blant drwy greadigaeth. Rhai felly ydyw angylion a dynion. Sonir am ser y bore yn cydganu ac am feibion Duw yn gorfoleddu, pan yr oedd yr Arglwydd yn sylfaenu y ddaear. Wrth ser y bore a meibion Duw y golygir yr angylion sanctaidd. Yr oeddynt mewn hwyliau uchel wrth weled doethineb a daioni Duw yn y greadigaeth. Pan oedd yr Arglwydd yn galw pethau i fod o ddim, yr oeddynt yn canu a gorfoleddu.

3. Y mae ganddo blant mewn enw yn unig. Mewn enw yn unig y mae rhagrithwyr yn blant iddo; nid oes ganddynt ond enw o grefydd, heb ei sylwedd. "Pan ddechreuodd dynion amlhâu ar wyneb y ddaear, a geni merched iddynt, weled o feibion Duw ferched dynion mai teg oeddynt." Yr oedd y rhai hyny yn cael eu galw yn feibion i Dduw, ond yr oeddynt yn rhai llygredig, heb fod yn blant iddo mewn

gwirionedd. Gall fod rhai yn proffesu crefydd heb fod yn blant i Dduw.

4. Y mae ganddo feibion drwy urddiad i swyddau gwladol; ac yr ydys yn galw breninoedd ac ymherawdwyr yn feibion iddo.

5. Y mae ganddo blant drwy gyfranogiad o anian nefol a sanctaidd; a dyna y rhai a olygir yn y testun, sef plant drwy gyfranogiad o anian dduwiol yn eu calonau,—yr hon sydd yn eu cynhyrfu i ymestyn am ymdebygu i'w Tad, ac i geisio anrhydeddu enw eu Tad ymhob man. Nid oes neb wrth natur yn y tir hwn. Ni anwyd ac ni enir neb yn blentyn i Dduw. Yr ydym yn cael ein galw yn ol ein cyflwr syrthiedig yn estroniaid, ac yn gŵn, ac yn foch. "Y ci a ymchwelodd at ei chwydiad ei hun, a'r hwch wedi ei golchi i'w hymdreiglfa yn y dom." "Nid cymhwys cymeryd bara y plant a'i daflu i'r cŵn." Felly yr ydym ninnau wrth natur o nifer y cŵn. Ond medr Duw dynu anian y cŵn o'r cŵn, a rhoddi anian newydd dduwiol yn ei lle; a medr dynu anian ac arfer y mochyn o hono, a rhoddi anian plentyn yn ei lle, fel y gallo ei gymeryd ato ei hun yn y diwedd, heb dynu dim dianrhydedd ar ei orsedd.

Ond cyn y byddwn yn blant i Dduw, rhaid I. Ein mabwysiadu. II. Newid ein hanian.

I. Rhaid ein Mabwysiadu cyn y byddwn yn blant i Dduw. Y mae amryw bethau yn gynnwysedig yn y mabwysiad.

1. Rhaid newid y teulu. Rhaid ein symud o un teulu i deulu arall. Rhaid gadael yr hen deulu. O ba deulu yr oeddym? "O'ch tad diafol yr ydych chwi." "Plant digofaint megys eraill" oeddym wrth naturiaeth. Beth ydym ar ol ein mabwysiadu? "Nid ydych chwi mwyach yn ddyeithriaid a dyfodiaid, ond yn gyd-ddinasyddion â'r saint ac yn deulu Duw." I'r cyfryw y mae Duw yn Dad, Iesu yn Frawd hynaf, yr Ysbryd Glân yn Sancteiddydd a

Dyddanydd; a'r angylion i'w gwasanaethu. Cael Duw yn Dad yn lle Satan, Crist yn Frawd yn lle tywysog llywodraeth yr awyr, a'r Ysbryd Glân yn Sancteiddydd yn lle rhodio yn ol helynt y byd hwn.

2. Cael ymgeleddiad sancteiddiol. Cael gadael yr hen deulu ag y buwyd yn ymlygru yn gaeth ynddo. "Gwrando, ferch, a gwel, a gostwng dy glust, ac anghofia dy bobl dy hun, a thŷ dy dad; a'r Brenin a chwennych dy degwch; canys efe yw dy Iôr di, ymostwng dithau iddo ef." Gyfeillion anwyl, a ydych chwi yn foddlawn gadael yr hen deulu am deulu gwell? Y mae y ffordd yn rhydd yn awr i newid y cartref a'r gwaith a'r anian a'r cyfan. Diolch iddo am hyny.

3. Cael cyfranogi o holl freintiau ysbrydol y teulu. Y mae eu rhagorfreintiau yn helaeth iawn. Ceir yn gyntaf enw newydd: "Mi a roddaf iddo gareg wèn, ac ar y gareg enw newydd wedi ei ysgrifenu." Maddeuant llawn o'r holl bechodau; taliad drud Golgotha wedi ei ysgrifenu ar y gareg wèn. Y gareg wèn a'r enw newydd, sef bod yr estron wedi ei fabwysiadu a'i wneyd yn blentyn. Yr enw newydd ar y gareg wèn yn dysgu fod y mabwysiad yn cael ei sylfaenu ar y gwaed. Y mae bod yr enw newydd wedi ei ysgrifenu yn dangos fod enwau y saint oll wedi eu hysgrifenu yn llyfr bywyd yr Oen.

II. Cael cyfranogi o anian sanctaidd.

Y mae gwaith Duw yn mabwysiadu yn rhagori yn fawr ar waith dynion yn mabwysiadu. Yr oeddynt yn ngwledydd y Dwyrain yn mabwysiadu llawer, ond y mae llawer o wahaniaeth rhwng trefn Duw a'u harfer hwy.

1. O ddiffyg fod gan ddyn etifedd ei·hun y byddai yn mabwysiadu. Pe buasai ganddo etifedd, ni buasai byth yn gwneyd. Pe buasai Duw yn gwneyd felly, buasai pawb o deulu Adda ar ol am byth. Yr oedd ganddo ser y bore i ganu, a meibion i orfoleddu. Nid o rwymau nac o

anghenrheidrwydd, ond o'i ras a'i gariad tuag at dlodion euog, y mae yn eu mabwysiadu.

2. Pan y mae dynion yn mabwysiadu, nid ydynt yn mabwysiadu ond un. Y mae un yn ddigon am yr etifeddiaeth. Y mae un yn ddigon gan ddynion. Pe buasai Duw felly, buasem ni wedi ein gadael o'r neilldu; ond y mae ef am ddwyn "meibion lawer i ogoniant." Y mae yn meddwl myned â thorf ddirif o bob llwyth ac iaith a phobl a chenedl, a'u gwneyd yn freninoedd ac yn offeiriaid i deyrnasu byth gyda Duw a'r Oen.

3. Pan y mae dynion yn mabwysiadu y maent yn gwneuthur hyny yn hawdd iawn. Ond aeth Duw i draul fawr iawn i'n cael ni yn blant iddo. Nid heb draul fawr y gallasai wneyd gwrthryfelwyr yn blant. Fe fu raid gosod dwyfol ddoethineb ar waith i drefnu ffordd at hyny. Nid hawdd oedd cymmodi nefoedd ac uffern. Daeth y Duw-ddyn i gofleidio y gelyn ar y domen. Gorfu i dragywyddol Fab Duw ddyfod fel gwas i barthau isaf y ddaear, ac mor debyg i'r gelynion ag y goddefai ei sancteiddrwydd. Yr oedd yn rhaid dyfod atynt, a chymeryd eu natur, ac ymostwng i'w holl wendidau dibechod. Dacw y Gair tragywyddol, trwy yr hwn y gwnaethpwyd pob peth a'r a wnaethpwyd, yn chwysu yn yr ardd er cael ffordd i'n gwneyd ni yn blant i Dduw. A gair o'i enau y creodd Crist y nefoedd a'r ddaear; ond wrth gymeryd merch yr hen Amoriad yn briod, bu raid iddo, er anrhydedd yr orsedd, chwysu yn yr ardd, a marw ar y groes.

4. Pan y mae dyn yn mabwysiadu, nid yw yn rhwymo ond pethau daearol wrth y mabwysiedig; ond y mae Duw yn rhwymo pob peth. Y mae yn rhoddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd. Caiff ei gynnaliaeth ar y ddaear; caiff bob peth fydd oreu er ei les, a bywyd tragywyddol yn y diwedd. Caiff fendithion y cyfammod gras, pob peth fydd yn anghen arno; sef cymmod

â Duw, y cyfiawnder a wared rhag angeu, nerth i bara hyd y diwedd; y mae y cwbl i'w gael. Ac nid eu rhoddi ar fenthyg y mae, ond eu rhoddi am byth: rhoddi ei Fab, rhoddi maddeuant, rhoddi y cyfiawnder sy'n gwared rhag angeu am byth. Ei addewid ydyw, "Mi a fyddaf yn Dduw iddynt hwy;" a dyna ddigon o etifeddiaeth iddynt, oblegid y mae pob peth ynddo ef. O am gymhorth i gyflwyno ein hunain iddo, ac ymddiried ynddo!

Ond pa fodd y daeth y peth mawr hwn oddiamgylch, sef i ni gael ein gwneyd yn blant i Dduw? Y gwreiddiol achos yw tragywyddol gariad Duw; yr haeddiannol achos yw ufudd-dod a dyoddefaint Iesu Grist; yr offerynol achos ydyw ffydd yn yr enaid.

Y gwreiddiol achos yw tragywyddol gariad a gras Duw; gras heb ei haeddu, gras heb ei ofyn, gras a wrthodasom. Buasai heb ein caru, ac heb ein cadw byth, oni buasai iddo wneyd hyny o'i ras ac ar ei gost ei hun. Cariad Duw ydyw y gwreiddiol achos ein bod ni yn cael ein gwneyd yn blant iddo: gwneuthur dyn sydd yn llawn o elyniaeth yn erbyn Duw yn blentyn anwyl iddo; a hyny heb fod yn ddim anfri i'w gymeriad na darostyngiad i'w urddas pan y bydd y byd yn myned ar dân.

Yr haeddiannol achos ydyw ufudd-dod a marwolaeth Mab Duw. Drwy ei Iawn ef y cafwyd ffordd gyfreithlawn ac anrhydeddus i gymmodi gelynion â Duw, ac i'w gwneuthur yn blant iddo.

Yr offerynol achos ydyw ffydd yn yr enaid, credu yn Mab Duw. Os nad oes genyt ffydd yn Iesu Grist, bydd Duw, er dy holl grefydda, yn ysgrifenu *Bastard* uwch dy ben yn y farn. Ffydd i gredu ynddo, ffydd i roddi ein holl ofal arno, i lwyr ymddiried ynddo, ac i'w wasanaethu a'i ogoneddu yn ein bywyd.

Ymroddwn i chwilio a ydym yn blant i Dduw. Pa fodd y gallwn ni wybod a ydym yn blant iddo? A ydyw ein

heneidiau yn llawn o ufudd-dod nefol i'n Tad nefol? A ydyw yn ddrwg genym ac yn ofid i ni ein bod wedi pechu yn ei erbyn? A ydym yn galaru am bechu yn erbyn Duw mor dda a Thad mor gariadlawn? ac am ddryllio Crist mor hawddgar, ac am dristâu Ysbryd mor rasol? A oes ynom gasineb sanctaidd at bechod fel y mae yn digio Duw, yn gystal ag am ei fod yn damnio yr enaid? A allwn ni ddywedyd fel Dafydd, "Pwy wyf fi a thŷ fy nhad pan ddygit fi hyd yma?" A ydym yn rhyfeddu ein bod yn fyw, pan y mae llawer o rai mwy a gwell na ni wedi gwneyd llongddrylliad o honynt eu hunain.

Enwn rai o ragorfreintiau y plant. Gofala eu Tad am danynt ymhob amgylchiad; cânt arian i dalu eu ffordd, ond ni chânt gôd. "Digon i ti fy ngras i." Gofalaf am danynt yn ffrydiau a llif yr afon; deil fy Mab eu penau uwchlaw y dòn; a chânt yr etifeddiaeth yr ochr draw yn ngwlad yr addewid.

Gan ein bod yn proffesu ein bod yn blant i Dduw, gweddïwn am nerth i rodio yn addas i'n proffes. Rhodiwn fel plant Duw. Nac aed neb o honom eto at y cŵn a'r moch. Nis gallwn ddyweyd ein bod yn blant i Dduw os ydym yn rhodio yn ol helynt y byd hwn. Llefwn am nerth i ddangos yn eglur plant i bwy ydym. Ymdrechwn am rodio yn nerth gras er gogoniant Duw, fel y caffom fyw gydag ef mewn gwynfyd bythol.

# PREGETH XII.

## GWNEUTHUR Y GAIR YN GNAWD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN HUGHES, WREXHAM.*

*Yn Llanbrynmair, Gorphenaf 1822.*

IOAN i. 14: "A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd."

Y MAE yr adnod i gyd fel hyn, "Ac a drigodd yn ein plith ni," hyny yw, a fu byw yn ein byd ni. Y Gair tragywyddol wedi dyfod i fyw ymysg dynion! "Ac ni a welsom ei ogoniant ef." Pa fath ogoniant ydoedd? "Gogoniant megys yr uniganedig oddiwrth y Tad." Gogoniant addas i fawrhydi ei Berson fel Mab Duw. A dyna yr agwedd oedd arno ymysg dynion—"llawn gras a gwirionedd." Y mae y geiriau, "yn llawn gras a gwirionedd," i

* Y mae enw y Parch. JOHN HUGHES, Wrexham, Liverpool wedi hyny, yn air teuluaidd, lle y mae Cymry, ymhob gwlad. Pery ei goffadwriaeth am oesoedd fel llenor gwych, ynglŷn â'i dair cyfrol werthfawr, sef *Hanes Methodistiaeth Cymru*, &c. Ganwyd ef yn Adwy'r Clawdd, Sir Ddinbych, yn y flwyddyn 1796; dechreuodd bregethu yn ddwy ar bymtheg oed; a bu farw Awst 8, 1860, â'i feddwl yn ymlonyddu, fel y dywed y Dr. Thomas, yn haeddiant yr Aberth Mawr, ac yn mwynhâu, fel y dywedai ei hunan, "heddwch fel afon." Mae yn debyg mai un o'r oedfaon mwyaf grymus a gafodd yn ei oes ydoedd mewn Cymanfa yn Nghaernarfon y prydnawn cyntaf ar y maes, ar ol y diweddar Barch. John Jones, Blaenanerch—ei dro cyntaf ef yn y Gogledd. Ei destun ydoedd, "A ddadleu efe i'm herbyn â helaethrwydd ei gadernid?" &c. Teimlai y miloedd ryw swyn hyfryd pan yr ail adroddai, "Na wna, ond efe a osodai nerth ynof." Dengys y ddwy bregeth yma o'i eiddo yn eglur pa enwogrwydd a berthynai iddo pan eto yn ddyn cymharol ieuanc. Yr oedd y wên siriol a fyddai ar ei wynebpryd hardd yn ennill serch ei wrandäwyr ar unwaith. "Y tadau, pa le y maent hwy!"

fod yn gysylltiedig â'r geiriau, "ac a drigodd yn ein plith ni." Y mae y geiriau, "ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megys yr uniganedig oddiwrth y Tad," rhwng cromfachau; a dylid cysylltu y rhan olaf o'r adnod â'r rhan flaenaf a darllen, "ac a drigodd yn ein plith ni yn llawn gras a gwirionedd." Y maent felly yn dangos yr agwedd oedd arno pan yn trigo yn ein plith ni. Yr oedd ei ogoniant yn amlwg; "ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megys yr uniganedig oddiwrth y Tad."

"A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Ystyriwn

I. Pwy yw y Gair.

II. Pa beth a ddeallir wrth y gair "cnawd."

III. Beth a gynnwysir yn y geiriau "a wnaethpwyd yn gnawd."

IV. Y dybenion rhyfedd o'r gwaith anghymharol hwn, sef cnawdoliaeth y Gair.

I. Pwy a feddylir wrth y Gair.

Nid ystyr y Gair, yn y man yma, ydyw y dadguddiad dwyfol, sef yr ysgrythyrau. Wrth y gair yr ydym i ddeall yn aml yr Ysgrythyrau, neu y dadguddiad dwyfol o Dduw a'i weithredoedd; ond y mae y Gair yn y lle hwn yn enw ar Berson mawr Mab Duw. Enw ydyw y Gair ar Berson y Mab. Wrth gymharu geiriau Matthew a Luc a Ioan, ni a welwn hyny yn eglur. Dyna fel yr enwir y Person yn Matthew,—"Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan; ond yn Luc a Ioan dywedir fod tri yn tystiolaethu yn y nef, sef y Tad, a'r Gair, a'r Ysbryd Glan. Wrth gymharu yr adnodau hyn â'u gilydd, gwelwn yn amlwg fod yr enw Gair yn enw ar Berson y Mab. Hefyd y mae yr enw, "Y Gair," yn enw boreuol iawn ar Fab Duw. Dywedir yn Genesis, "Wedi y pethau hyn y daeth Gair yr Arglwydd at Abram mewn gweledigaeth, gan ddywedyd, Nac ofna, Abram, myfi yw dy darian, dy wobr mawr iawn." Bernir gan lawer mai Person y Mab a olygir wrth "Gair yr Arglwydd" yn y lle hwn;

ac y gellir darllen y geiriau fel hyn, Daeth Gair Jehofah at Abram, neu daeth Jehofah y Gair at Abram, ac a ddywedodd wrtho, Myfi yw dy darian, dy wobr mawr iawn." Felly y mae yr enw y Gair yn enw boreuol ar Berson Mab Duw. Dywed Ioan yn Dat. xix. 11: "Ac mi a welais y nef yn agored; ac wele farch gwŷn, a'r hwn oedd yn eistedd arno oedd Ffyddlawn a Chywir, ac mewn cyfiawnder y mae efe yn barnu ac yn rhyfela. A'i lygaid oedd fel fflam dân, ac ar ei ben yr oedd coronau lawer; ac yr oedd ganddo enw yn ysgrifenedig, yr hwn ni wyddai neb ond efe ei hun; ac yr oedd wedi ei wisgo â gwisg wedi ei throchi mewn gwaed; a gelwir ei enw ef, Gair Duw." Y mae yn amlwg mai geiriau am Grist ydynt y rhai hyn, "A gelwir ei enw ef Gair Duw." Y mae yr ymadrodd yn dangos yn ddiammheuol fod yr enw, y Gair, yn enw ar Berson Mab Duw; ac hefyd y mae yn amlwg mai Person y Mab a feddylir yn ein testun, wrth gymharu geiriau y testun â'r adnod gyntaf yn y bennod, lle y dywedir fel hyn, "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair." Yr oedd rhai enwog o flaen Ioan wedi son am y dechreuad. Y mae gwahaniaeth rhwng Ioan yn son am y dechreuad a Moses yn son am y dechreuad. Dyma fel y mae Moses yn dywedyd, "Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear;" ond fel hyn y mae Ioan yn dywedyd, "Yn y dechreuad yr oedd y Gair." Nid yn y dechreuad yr *oedd* y nefoedd a'r ddaear y mae Moses yn ddywedyd, ond "yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear." Fe fu adeg yn y dechreuad pryd nad oedd y nefoedd a'r ddaear, ond yr oedd y Gair y pryd hyny. Ac o ganlyniad rhaid fod y Gair yn Berson gyda Duw, yn Berson tragywyddol yn yr Hanfod Ddwyfol erioed; nid fel un îs na Duw, ond yn gydradd â Duw; "a Duw oedd y Gair." Duw oedd efe, a Duw yw efe, a Duw fydd efe byth bythoedd. Felly wrth y Gair yn ein testun y meddylir Person anfeidrol Mab y Duw

byw. Y mae yn Berson Dwyfol; y mae yn Fab y Duw byw, nid fel swyddwr, ond fel Person, felly y mae yn amlwg ei fod yn wir Dduw.

1. Y mae y Tad ei hun yn ei gyfarch fel y cyfryw. "Wrth ba un o'r angylion y dywedodd un amser, Eistedd ar fy neheulaw? Ond wrth y Mab, y mae yn dywedyd, Dy orseddfainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd; teyrnwïalen uniondeb yw teyrnwïalen dy deyrnas di. Ac, Tydi yn y dechreuad, Arglwydd, a sylfaenaist y ddaear, a gwaith dy ddwylaw di yw y nefoedd."

2. Y mae gweithredoedd hefyd yn cael eu priodoli iddo nad ydynt yn perthyn i neb ond Duw: megys creadigaeth, rhagluniaeth, a llywodraeth pob peth.

3. Y mae gorchymyn wedi ei roddi am i holl angylion Duw ei addoli ef.

4. Y mae enwau yn cael eu rhoddi arno nad ydynt yn gweddu i neb ond i Dduw yn unig, megys "yr Arglwydd ein cyfiawnder," neu Jehofah ein cyfiawnder.

5. Y mae y gwyrthiau a gyflawnodd yn profi ei fod yn Dduw; megys llonyddu y môr, rhoddi eu golwg i ddeillion, a bywhâu y meirw. Yn ei enw ef yr oedd yr apostolion yn gwneuthur gwyrthiau, ond yn ei enw ei hun yr oedd efe yn eu gwneyd. Y mae yn wir lun Person y Tad. Y mae ef yr oll ag ydyw y Tad. Y mae yn ddysgleirdeb ei ogoniant ef. Pa ogoniant bynag, a pha fawrhydi bynag, sydd yn dysgleirio yn Mherson y Tad, y mae yr un gogoniant a mawrhydi yn preswylio yn Mherson y Mab. Y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol ynddo ef. Y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn sylweddol ynddo ef. Pob peth a berthyna i'r Hanfod Ddwyfol, pob gallu a phob mawrhydi a phob anfeidroldeb sydd yn perthyn i'r Duwdod, y maent oll yn gyflawn yn Mherson y Mab. Y mae y Person yma, sef y Mab, gyda golwg ar y dull tragywyddol o hanfodiad ei Berson,

yn cael ei alw yn Fab Duw. Nid ar gyfrif ei fod wedi ei osod yn Gyfryngwr y gelwir ef yn Fab Duw. Y mae yn wir fod y Mab wedi ei osod yn Gyfryngwr, ond nid ar gyfrif ei osodiad yn Gyfryngwr y gelwir ef yn Fab. Yn y Llythyr at yr Hebreaid dywedir (vii. 28), "Canys y gyfraith sydd yn gwneuthur dynion â gwendid ynddynt yn archoffeiriaid; eithr gair y llw, yr hwn a fu wedi y gyfraith, sydd yn gwneuthur y Mab, yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd." A gair y llw y gwnaed y Mab yn archoffeiriad. Enwir yma y Person a wnaed yn archoffeiriad yn Fab, y Mab. Hefyd nid ar gyfrif ffurfiad cnawd ei ddynoliaeth yn mru y wyryf y gelwir ef yn Fab: ac nid ar gyfrif ei adgyfodiad o'r bedd y gelwir ef yn Fab Duw. Nid efe a wnaed yn Fab Duw, ond "efe a eglurwyd yn Fab Duw, trwy ei adgyfodiad oddiwrth y meirw." Nid ar gyfrif ei osodiad yn Gyfryngwr, na ffurfiad ei ddynoliaeth, na'i adgyfodiad o'r bedd, y gelwir ef yn Fab Duw, ond yn ei berthynas â'r Tad yn yr Hanfod Ddwyfol. Fe'i gelwir yn Fab Duw, y Duw byw, uniganedig Fab Duw, ei anwyl Fab, ei briod Fab, ei Fab ei hun. Y mae yr angylion yn cael eu galw yn feibion i Dduw ar gyfrif eu creadigaeth; a duwiolion yn cael eu galw yn feibion i Dduw ar gyfrif eu mabwysiad a'u hailenedigaeth; ond y mae hwn yn cael ei alw felly ar ystyr uwch na hyny, sef ei briod Fab, ei Fab ei hun. Pan y mae Duw yn dywedyd ei fod wedi gosod ei Fab yn frenin ar Sion, Y mae yn dywedyd, "Fy mab ydwyt ti, myfi heddyw a'th genedlais di." Heddyw Duw ydyw ei dragywyddoldeb. Y mae heddyw Duw y tu hwnt i amgyffred neb ar y ddaear nac yn y nefoedd.

II. Am ystyr y gair "cnawd." Nid yr un ystyr sydd i'r gair ymhob man yn y Bibl. Y mae amryw wahanol ystyriaethau i'r gair cnawd. Weithiau y mae yn arwyddo y rhan hyny o'r corff ag sydd rhwng y croen a'r esgyrn, ac arwydda weithiau yr holl gorff; ac weithiau meddylir y

llygredigaeth sydd wedi myned drwy yr holl natur; ac weithiau wrth y gair cnawd y meddylir yr holl natur ddynol yn gyflawn; ac felly yma, y mae yn golygu yr holl natur ddynol. Ystyriwn yn

III. PA BETH A GYNNWYSIR YN YR YMADRODD "A WNAETHPWYD YN GNAWD." Wrth ddarllen fod y Gair wedi ei wneuthur yn gnawd, y mae i ni ddeall fod gan Berson tragywyddol y Mab y natur ddynol mewn undeb â'i Berson Dwyfol tragywyddol. "A wnaethpwyd yn gnawd;" ond y mae yn aros yn ei holl fawredd fel Person Dwyfol. Y mae yn aros yn ei holl fawrhydi fel Mab Duw, heb leihâu dim; ac eto efe a ymostyngodd i wisgo y natur ddynol: "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Nid ei wneuthur ei hun yn gnawd, a gadael ei Dduwdod a wnaeth; ond efe a wnaethpwyd yn gnawd. Trefnwyd gan y Tad yn y cynghor bore, wrth ei osod yn Feichiau, iddo gymeryd cnawd. "Corff," meddai, "a gymhwysaist i mi." A phan ddaeth cyflawnder yr amser yn ol y cynghor, dyna yr Ysbryd Glân yn gorphwys ar fru y wyryf i ffurfio y natur ddynol; ac y mae yntau yn ei chymeryd i undeb â'i Berson Dwyfol. Y Tad yn trefnu, a'r Ysbryd Glân yn ffurfio y ddynoliaeth yn mru y wyryf. Felly cymerodd Mab Duw, y Person mawr Dwyfol, ein natur ni i fod am byth mewn undeb â'i Berson Dwyfol. Bu y Tad yn trefnu, a'r Ysbryd Glân yn ffurfio, ac yntau y Mab yn cymeryd. Efe a gymerth y natur ddynol gorff ac enaid, i fod mewn undeb byth â'i Berson tragywyddol. Y mae'r undeb rhwng y ddwy natur yn ei Berson mor ddirgelaidd ac mor agos fel nad yw yn ddau Berson. Yr oedd yn Berson Dwyfol cyn cymeryd y natur ddynol; ac efe a gymerodd y natur ddynol yn ychwanegol i'w Berson, heb fod yn ddim ychwanegiad personau. Y mae yn un Person: yn Fab y Duw byw, ac yn Fab y dyn, ac eto yn un Crist, yn un Cyfryngwr, ac yn un Gwaredwr. Ac eto, er bod yn undeb mor ddirgel ac mor agos, y mae pob un o'r ddwy yn cadw ei

nodweddau a'i chynneddfau ei hun heb gymysgu y sylwedd. Y mae Duwdod digymysg yn Mherson y Mab, a dynoliaeth ddigymysg hefyd, er ei bod wedi ei chodi i undeb â'r natur Ddwyfol: ac yn bresennol y mae y Person gogoneddus yma yn Fab y dyn, ac yn Fab y Duw byw. Gwelwn

1. Annhraethol ymddarostyngiad Person y Mab: "a wnaethpwyd yn gnawd."

2. Annhraethol dderchafiad y natur ddynol, wedi cael ei chodi i fod am byth mewn undeb â Pherson Mawr Mab Duw.

1. Annhraethol ymddarostyngiad Person y Mab, "a wnaethpwyd yn gnawd." I ba le yr oedd y cnawd wedi myned, wedi syrthio? Pe byddai i ni edrych ar y natur ddynol yn ei harddwch dechreuol, yn ei harddwch creadigol, buasai yn ymddarostyngiad annhraethol fawr i Fab Duw ymgnawdoli. Ond O, i'r fath ddyfnder yr aeth! i'r fath ryfedd iselder! Pe byddai i ni edrych arni yn y byd hwn, y mae yn îs a gwaelach nag un arall sy'n bod; a phe byddai i ni fyned i waelod y dyfnder y mae wedi syrthio iddo, gwelem fod y ddynoliaeth wedi syrthio yn isel iawn. Yr oedd wedi myned i lawr dan ddeddf a dedfryd y condemniad, i ddyfnderoedd dystryw: ond fe ymddarostyngodd y Person Dwyfol ag yr oedd yn ymddarostyngiad iddo edrych ar y pethau yn y nefoedd, i edrych ar y natur ddynol yn y dyfnderau, er mwyn ei chodi i undeb a'i Berson Dwyfol ei hun. Yr oedd hwn o ran ei fawredd mor uchel fel ag yr oedd edrych ar y pethau sydd yn y nefoedd yn ddarostyngiad iddo. Y mae y fath fawredd a gogoniant yn y Duwdod fel nas gall edrych ar ddim ond arno ei hun heb ymddarostwng. Ond edrychodd Mab Duw ar y ddaear, a mwy na hyny edrychodd ar gnawd, sef ar y natur ddynol er ei hiselder, a'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd. Y Person Dwyfol ag yr oedd yn ymddarostyngiad iddo

edrych ar y pethau yn y nefoedd, a ymddarostyngodd i edrych ar y natur ddynol yn ei gwaeledd, ac a'i cymerodd i fod yn natur am byth mewn undeb â'i Berson mawr Dwyfol ei hun; a dyma yr un sydd yn cael ei bregethu yn Geidwad i bechadur.

2. Yr annhraethol dderchafiad a'r anfesurol godiad a gafodd y ddynoliaeth. Fe godwyd y natur ddynol o'r dyfnderau i undeb â Pherson mawr y Mab; ac i fod am byth mewn undeb â'i Berson tragywyddol yn nghyfrinach y Drindod byth bythoedd. Fe feddyliodd Satan, wedi iddo allu cael y natur ddynol i lawr, y cai y natur ddynol mor isel, os nad yn îs, nag ef ei hun; ond fe godwyd y ddynoliaeth mor uchel ag oedd yn bosibl, i fod yn natur berffaith am byth, yn Mherson Mab Duw, yn nghyfeillach y Drindod. Y natur a fu ganddo yma ar y ddaear ydyw hi, a hono sydd ganddo yn awr ar ddeheulaw y Tad, ac a fydd ganddo yn barnu y byd, ac a fydd ganddo wedi'r farn yn y nef yn oes oesoedd. Ni ddylech ollwng eich natur i fudreddi. Y mae y natur ddynol wedi ei chodi i fod mewn undeb â'r Pen, ac fe godir miloedd o'r dyfnderoedd i uchder gogoniant Duw. Y mae y peth mwyaf tuag at achub pechadur wedi cael ei wneyd, sef Duw wedi ymddangos yn y cnawd. Y Gair wedi ei wneuthur yn gnawd. Y mae y gwaith dros yr eglwys wedi cael ei wneyd. Y mae y Pen yn y nefoedd mewn mawrhydi, wedi derchafu y natur ddynol, drwy ei chodi i undeb â'i Berson ei hun; ac y mae yno yn eiriol dros droseddwyr. Y mae y peth mwyaf wedi cael ei wneuthur. "Ni chymerodd efe naturiaeth angylion, ond had Abraham a gymerodd efe," ac efe a'i cododd i'r fath uchelderau nes y bydd ein natur ni am byth mewn undeb â'i Berson Dwyfol.

IV. Y DYBENION O'R GWAITH RHYFEDDOL HWN. Ni wnaed peth mor fawr heb fod dybenion pwysfawr iddo. Nid i ateb dybenion bychain y gwnaed peth mor ryfedd ag

i Dduw ymddangos yn y cnawd,—Y Gair tragywyddol gael ei wneuthur yn gnawd.

1. Y dyben rhyfeddaf ac uchaf oedd fel y byddai i Dduw amlygu gogoniant ei holl briodoliaethau yn iachawdwriaeth pechaduriaid. Y mae rhai o'i briodoliaethau yn dysgleirio yn nhrefniad y greadigaeth, ond y mae yr holl briodoliaethau yn ymddysgleirio yn nhrefn yr iachawdwriaeth; a dyna un o'r prif ddybenion o'r gwaith rhyfedd, sef cael dangos gogoniant cymeriad Duw yn nhrefn iachawdwriaeth pechadur.

2. Fel y byddai Person y Mab, yn ol y trefniad, yn Offeiriad. Ni buasai yn addas i fod yn offeiriad oni buasai iddo ymddangos yn y cnawd, a chymeryd y natur ddynol. Nid allasai neb ateb i Dduw heb fod yn ogyfuwch â Duw; ac nid oedd neb a allasai ateb i ddyn, heb fod ganddo ddynoliaeth. Ni buasai neb yn ddigon heb iddo ddyoddef dros bechod; ac nid oedd yn bosibl i Fab Duw ddyoddef yn ei natur Ddwyfol; ond gan iddo gymeryd y natur ddynol a dyoddef, y mae yn addas i fod yn Archoffeiriad. Cyn iddo gymeryd cnawd yr oedd rhyw gysgodau o hono yn bod o hyd, ond nid allasai ddyfod ei hun. Ni feddai fodd i fod yn Archoffeiriad cyn iddo wisgo cnawd. Yr oedd triniaeth ryfedd i fod ar yr aberth, —lladd a darnio a llosgi. Nid allasai ef fod byth yn Offeiriad cyn cael cnawd; ond wedi iddo gael cnawd, yr oedd yn addas i ddal triniaethau yr aberth. Yr oedd ganddo gorff i allu dyoddef. Yr oedd uchder a mawredd hefyd yn ei Berson i roddi gwerth a mawredd ar ei aberth.

3. Yr oedd yn anghenrheidiol iddo gael cnawd fel y gallai gydymdeimlo â gwendidau ei bobl. Nid allasai Person mawr Dwyfol Mab Duw ddim gwneuthur hyny heb gymeryd dynoliaeth. Y mae yn yr Archoffeiriad hwn natur a fedr gyd-ddyoddef â gwendidau ei bobl. Nid cymeradwyo eu pechodau a feddylir, ond cydymdeimlo â'u trallodion a'u

gwasgfeuon ymhob tywydd. Y mae llawer o'i bobl yn ofidus; y mae yntau wedi bod yn "ŵr gofidus a chynnefin â dolur." Y mae llawer o'i bobl yn ofnus; y mae yntau wedi bod yn gwybod am ofnau, gŵyr beth oedd chwysu y gwaed gan ofnau. Y mae wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud a ninnau; gŵyr am holl demtasiynau ei ganlynwyr.

4. Fel y gorchfygai Satan, neu y diafol, yn y natur a orchfygwyd gan Satan. "Efe a ysiga dy ben di." Nid efe a wna hyny yn ei fawredd ei hun, ond fe fydd y weithred o fwy o warth i ti na hyny. Mi godaf y natur ddynol yn Mherson fy Mab i ymladd brwydr â thi, ac i ysigo dy ben di, ac i ddystrywio dy holl lywodraeth. "Efe a ysiga dy ben di." Bydd yn warth tragywyddol i'r diafol ei fod wedi cael ei orchfygu yn y natur a orchfygodd ef. Fe fu y frwydr â'r Cyfiawn yn un ryfedd iawn. "Hon," meddai Iesu, "yw eich awr chwi a gallu y tywyllwch." Nid oedd y diafol y pryd hwnw yn ei gadwyn, ond cafodd ei ryddid i ymladd i'r eithaf â'i holl rym. Ond yn ein natur ni ar y groes darfu i Iesu "yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, ac efe a'u harddangosodd hwynt ar gyhoedd, gan ymorfoleddu arnynt arni hi." Pan oedd dan yr hoelion ar ei groes, efe a gymerodd y diafol a'i holl fyddinoedd yn gaethion rhyfel. Y mae y diafol a'i holl *armies*, ar ol y frwydr hono, wedi myned dan fwy o warth nag erioed o'r blaen. Gorchfygodd Iesu y diafol a'i holl angylion, a'u holl gyfrwys demtasiynau, yn y natur a orchfygasant hwy yn Eden. Bydd cywilydd ar Satan yn oes oesoedd oblegid hyny, ac fe fydd cywilydd tragywyddol yn sicr o ddal pawb a aroso yn ei deyrnas ac yn ei wasanaeth. Gorchfygwyd mewn dynoliaeth, neu yn ein natur ni, holl nerth Satan a'i luoedd.

5. Fel y gallai lenwi ei holl gymeriadau a'i enwau yn ei berthynas â'i deulu, megys Pen, Priod, Brawd, Cyfaill, &c. Nid enwau gwag ydynt y rhai hyn, ond y mae ynddo ef y pethau oll sydd yn gynnwysedig ynddynt. Lleinw y cym-

eriad o Frawd a Phriod a Chyfaill ffyddlawn ac agos, hawdd ei gael mewn cyfyngder; a phery felly i'w deulu byth bythoedd.

Beth dybygwch chwi am Grist? A wna efe y tro i chwi? A fynwch chwi ef yn Briod a Brawd a Chyfaill i chwi? Enaid anwyl! a roddi di dy hun dan ei ofal a'i ymgeledd? Bydd ef yn ddigon i ti. Y mae wedi clirio dy holl ddyled, ac y mae wedi baeddu pob gelyn. O mor ofnadwy fydd dy uffern, os myni fyned yno dan ei ddirmygu. Gellir dy godi yn uchel drwy ei haeddiant. Gwrando yn awr ar wahodd-iadau ei gariad.

"Henffych, Iesu, 'r Duw tragwyyddol,
Gwir a sanctaidd berffaith ddyn!
Dwy ryw natur mewn un Person—
Syndod nefoedd fawr ei hun!
A phob natur a phriodoledd
Eto 'n hollol gadw 'i lle,
Dyndod heb gymysgu â Duwdod—
Priod f' enaid byth yw e'."

# PREGETH XIII.

## YR EFENGYL MEWN NERTH.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN HUGHES, WREXHAM.

*Yn Llanbrynmair yn 1822.*

1 THESSALONIAID i. 5: "Oblegid ni bu ein hefengyl ni tuag atoch chwi mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr; megys y gwyddoch chwi pa fath rai a fuom ni yn eich plith, er eich mwyn chwi."

Y MAE yn amlwg fod cysylltiad rhwng geiriau y testun â'r geiriau o'r blaen. Y mae yr adnod o flaen y testun fel hyn—"Gan wybod, frodyr anwyl, eich etholedigaeth chwi gan Dduw." Y mae y testun yn rhoddi rheswm am y wybodaeth hono. Pe gofynasid i Paul, pa fodd y gwyddai am eu hetholedigaeth gan Dduw, y mae'r testun yn dangos hyny. Nid oedd Paul yn cymeryd arno i ddarllen Llyfr yr Arfaeth, ond dyma pa fodd yr oedd yn gwybod am eu hetholedigaeth gan Dduw, trwy weithrediadau yr Ysbryd Glân arnynt. Dyna oedd ei ffordd i wybod am eu hetholedigaeth. Nid yw Duw wedi dadguddio gwrthddrychau ei arfaeth i neb, ond dyna y llwybr sydd ganddo i'w dadguddio, trwy weithrediadau ei Ysbryd ar eu cyflyrau; ac ofer i neb geisio gwybod a ydyw ef wedi ei ethol cyn chwilio am weithrediadau yr Ysbryd Glân ar ei enaid. Yr wyt wrth ymgais am chwilio i'r arfaeth yn dangos dy fod yn ddigon o ddyn i geisio chwilio am y pethau na ddangosodd Duw erioed i neb. Ond y modd i wybod pwy yw y rhai a etholwyd gan Dduw ydyw chwilio pa beth y bu yr

efengyl tuag atynt. "Oblegid ni bu ein hefengyl ni tuag atoch chwi mewn gair yn unig." Y mae bod Duw yn gweithredu yn a thrwy yr efengyl ar eu cyflyrau yn dangos eu bod yn yr arfaeth er tragywyddoldeb. "Y mae fy nefaid i," medd Crist, "yn gwrando fy llais i." Pwy yw defaid Crist? Y rhai sydd yn gwrando ei lais. "Byddwch ddyfal," meddai Pedr, "i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr." Os ydych am wybod eich etholedigaeth, llafuriwch am wybod eich galwedigaeth. Os cewch eich galwedigaeth yn sicr, ni bydd dim yn ammheus am eich etholedigaeth.

Ond sylwn ar y testun. "Oblegid ni bu ein efengyl ni tuag atoch chwi mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr."

I. Y PETH A FU FELLY TUAG AT Y THESSALONIAID, AC SYDD YN AWR FELLY TUAG ATOM NINNAU, sef "yr efengyl."

II. Y MODD Y BU YR EFENGYL TUAG AT AMRYW YN THESSALONICA: "Nid mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân.

III. YR EFFEITHIAU O FOD YR EFENGYL MEWN NERTH AC YN YR YSBRYD GLAN: "Sicrwydd mawr."

I. YR EFENGYL; "Oblegid ni bu ein hefengyl ni." Ystyr y gair efengyl yw newydd da, neu genadwri dda. Nid ydyw y gair efengyl o wreiddyn Cymraeg, ond gair o'r Groeg ydyw. Y mae y gair a gyfieithir efengyl yn cael ei gyfieithu yn yr ail bennod o Luc yn "Newyddion da." Newyddion da o gadwedigaeth i golledigion: cenadwri dda am Geidwad i ddynion colledig. Dyna sydd i ni ei ddeall wrth y gair efengyl, holl gorff yr athrawiaeth fawr am drefn yr iachawdwriaeth; holl gorff gwirioneddau yr athrawiaeth am holl drefn Duw o'i rad ras yn achub pechaduriaid drwy Iesu Grist. Maes rhy eang i fyned iddo er sylwi arno mewn odfa ydyw hwn. Yr holl wirionedd am yr holl drefn a'r holl waith y mae Duw yn ei wneuthur drwy ei drefn yn

achub drwy Iesu Grist. Y mae yn cael ei galw "efengyl gras Duw," oblegid mai ynddi hi y cawn ddadguddiad o'i ras, ac mai trwyddi hi y cyfrenir gras. Gelwir hi hefyd "efengyl Duw," am mai Duw ydyw ei Hawdwr, ac mai trefn Duw y mae yn ei dadguddio. Hefyd gelwir hi yn "efengyl Crist," am mai Crist yw ei gwrthddrych, ac mai Crist yw y Person gogoneddus sydd yn cael ei ddangos ynddi i bechadur gredu ynddo am ei fywyd. Hefyd gelwir hi "efengyl y tangnefedd," am fod tangnefedd Duw yn dyfod drwyddi i eneidiau euog. Gelwir hi hefyd yn "efengyl iachawdwriaeth," am ei bod yn ddadguddiad goleu o drefn yr iachawdwriaeth; ac yn "efengyl dragywyddol," am y bydd effeithiau tragywyddol yn dilyn y derbyniad o honi, ac y bydd rhyfeddu tragywyddol wrth adolygu yr effeithiau hyny.

Gallwn sylwi yn awr paham y mae Paul yn ei galw, "ein hefengyl ni." Y mae y fath air yn cael ei arfer ganddo mewn man arall. "Ac os cuddiedig yw ein hefengyl ni, yn y rhai colledig y mae yn guddiedig." Y mae yn debyg fod y geiriau, "ein hefengyl ni," yn cyfeirio at ryw bethau oedd yn cael eu credu gan rywrai ag oeddynt yn eu galw yn efengyl; ond meddai Paul, nid ni, apostolion Crist ydynt, ac nid efengyl Crist sydd ganddynt; pethau eraill sydd ganddynt; duwiau eraill sydd ganddynt; efengyl arall y maent yn gyhoeddi. Y mae hyn o addysg i ni oddiwrth y pethau hyn. Peth mawr a phwysig ydyw cael adnabod y wir athrawiaeth, ac adnabod y gwir weision ydynt o anfoniad Crist yn traddodi ac yn cyhoeddi y wir athrawiaeth, sef y wir efengyl.

1. Y wir athrawiaeth hono sydd yn ol cysondeb yr Ysgrythyrau. Nid efengyl Crist ydyw yr efengyl sydd yn cerdded ar hyd rhyw ochrau ar gyffiniau y Gair; ond y wir athrawiaeth ydyw hono a gerddo yn oleu ar hyd holl gorff yr Ysgrythyrau, yn eu cysondeb â'u gilydd.

2. Y wir efengyl ydyw yr hon sydd yn dangos dyn yn y man lle mae; yn farw ac yn ddamniol ac yn llithro i ddystryw; ac heb fwy o duedd i'w achub ei hun na'r marw sydd yn ei fedd; yr hwn sydd yn meddwl ac yn dywedyd fod dyn i fod yn rhywbeth yn ei gadwedigaeth. Nid y wir efengyl ydyw hono; ond y wir efengyl yw

3. Yr hon sydd yn dangos Person a gwaith Crist, a'r cyflawnder sydd ynddo i alw pechaduriaid ato, fel y maent i gael eu hachub.

4. Y mae bob amser effeithiau sancteiddiol yn dilyn efengyl Crist; a'r effeithiau yw eu gwaredu oddiwrth eu pechodau, a marwhâu eu llygredigaethau.

5. Y mae yn amlwg bob amser oddiwrth yr Ysgrythyrau mai dyna yw dybenion a dymuniadau penaf, ac mai dyna sydd yn pwyso drymaf ar feddyliau gwir weision Crist, gwir weinidogion yr efengyl, ydyw gogoniant Duw a lles eneidiau; a phawb eraill, cyhoeddi efengyl arall y maent, er ychwanegu plaid, neu ryw gau ddyben, yn fwy nag achub eneidiau.

II. Y MODD AG Y BU YR EFENGYL TUAG AT Y THESSALONIAID AC AMRYW ERAILL: "Nid mewn gair yn unig." Bu mewn gair, ond nid mewn gair yn unig. Ni bu erioed mewn nerth heb fod mewn gair; ond bu mewn gair heb fod mewn nerth. Braint fawr i ni fod efengyl Crist tuag atom mewn gair. Rhagorfraint ydyw hon ag y mae y rhan fwyaf o'r byd o lawer yn amddifaid o honi. Wrth fod yr efengyl mewn gair y mae i ni ddeall yn

1. Gair y gwirionedd yn yr Ysgrythyrau.
2. Gweinidogaeth yr efengyl.

Y mae bod yr efengyl mewn gair yn dangos y ddau beth yma, sef bod gair yr Arglwydd yn ein hiaith, a bod gweinidogaeth yr efengyl yn ein mysg. Y mae efe yn mynegu "ei eiriau i Jacob, ei ddeddfau a'i farnedigaethau i Israel. Ni wnaeth efe felly âg un genedl." Nid yw yr efengyl

mewn gair yn awr gan y ddegfed ran o breswylwyr y byd. Y mae tros dair mil o ieithoedd yn y byd, ac mewn rhyw chwech ugain o'r ieithoedd hyny y mae gair Duw i'w gael: ac ymhlith y rhai y mae yr efengyl atynt mewn gair, wele ein cenedl ni y *Cymry*. Ystyriwn yn ddifrifol, gan ein bod ni fel cenedl yn meddu y fraint o gael Gair Duw yn ein hiaith, mai dyledswydd pob perchen clust ydyw gwrando y gair, a dyledswydd pob perchen llygad ydyw darllen a chwilio y gair. Dyledswydd pob perchen clust, os bydd ganddo allu corfforol, ydyw dyfod i'r addoliad i wrando y gair. Braint a chysur gwerthfawr ydyw hyny nad ydyw gan lawer. Ond nid yw hyny yn ddigon; ni wna hyny y tro; "Byddwch wneuthurwyr y gair, ac nid gwrandäwyr yn unig." Y mae gwrando yn ddyledswydd bwysfawr; ond y mae yn rhy fach, os gwrando yn unig a wneir. Y mae proffesu Crist yn fraint ardderchog, ac yn ddyledswydd bwysig ar bawb sydd yn clywed yr efengyl; ond y mae perygl rhag boddloni i fyw ar broffes yn unig. Cyfoder ni o'r pethau bach "unig" hyny. Ymorphwys mewn pethau "yn unig" ydyw perygl llaweroedd. Pa fath rai yw y bobl ag y mae yr efengyl tuag atynt mewn gair, ac mewn gair yn unig? Atebwn, mai mewn gair yn unig y mae y gwirionedd tuag at bawb o'r bobl hyny sydd yn ddibrofiad o'i effeithiau. A glywodd y dyn am fawredd Duw? Do. A grynodd efe wrth glywed? Naddo. A oes ofn Duw yn ei galon, ac arswyd ei Greawdwr arno? Nac oes yr un gradd. Mewn gair yn unig y mae, nid mewn nerth. A glywodd y dyn am berygl ei gyflwr, ac am ddigofaint Duw? Do, lawer gwaith. A ddarfu iddo ffoi i'r noddfa am ei fywyd? Naddo. Mewn gair yn unig y mae i hwnw. A glywodd y dyn am Berson yr Emmanuel, ac am drefn yr iachawdwriaeth drwy ei iawn? Do. A ydyw ef yn ei mawrhâu? Nac ydyw. Wel mewn gair yn unig y mae iddo. Y mae y gair yn ei iaith, ac eto y mae ei enaid mor ddyeithr i'w effeithiau sancteiddiol a

phe na chlywsai y gair erioed. Llefwn am brofi y gair mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân.

Ystyriwn yn nesaf, Beth yw yr efengyl mewn nerth. Beth sydd yn rhoddi nerth ynddi? Atebir yma, mai yn yr Ysbryd Glân. Nid nerth dawn, na nerth llais y pregethwr. Rhaid cael yr Ysbryd Glân at y gorchwyl: "trwy nerth yr Ysbryd Glân." Y mae gwaith y Cyfryngwr ar y ddaear wedi ei orphen, ac y mae yn Eiriolwr yn y nef; ac yr ydys yn cyhoeddi y gwirionedd, yn pregethu yr efengyl yn barhâus. Beth sydd yn eisieu? Yr Ysbryd Glân. Dyna sydd mwyaf o'i eisieu yn y dyddiau hyn. A yr holl ragorfreintiau heibio heb ddim llesâd cadwedigol i neb, os na ddaw Ef—os na cheir o'i ddylanwadau ef.

"Eithr hefyd mewn nerth." Ychydig eiriau a ddywedodd yr Arglwydd Iesu uwch ben bedd Lazarus, dim ond "Lazarus tyred allan;" ond atebodd yr ychydig eiriau hyny eu dyben, sef cael y marw allan yn fyw. Wel ïe, medd rhywun, "Peth ar gorff y marw oedd hyny." Y mae peth tebyg yn cael ei wneyd ar eneidiau dynion. "Y mae yr awr yn dyfod, ac yn awr y mae, pan glywo y meirw lef Mab Duw, a'r rhai a glywant a fyddant byw." Felly dywedir am yr efengyl, "Gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth." Yr efengyl sydd yn dangos y gweithrediadau helaethaf o'r gallu Dwyfol. Yr efengyl ydyw y moddion sydd gan Dduw i ddangos rhagorol olud ei ras. Yr ymadrodd am y groes "i'r rhai cadwedig, nerth Duw ydyw." Yr "ymadrodd am y groes," yr ymadrodd am y Person fu'n dyoddef ar y groes, a'r gwaith mawr a wnaed ar y groes. Y mae yr apostol yn son am ryw athrawon ag yr oedd rhyw allu ganddynt mwy na'u hymadrodd; ac yna mae yn egluro y mater, "Canys nid mewn ymadrodd y mae teyrnas Dduw, ond mewn gallu." Y mae gair hefyd yn ail Corinthiaid (x. 4, 5), "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr, gan fwrw

dychymygion i lawr, a phob uchder a'r sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist." Y milwyr yna yw pregethwyr y gair, a'r arfogaeth yw gweinidogaeth yr efengyl. Y mae y cestyll dychymygion a'r holl ymgodi sydd yn y byd yn erbyn gallu yr efengyl. A ydyw y milwyr yn ddigon o honynt eu hunain i'w bwrw i lawr? Nac ydynt. Wel, beth sydd raid ei gael? A raid iddynt gael arfau newyddion? Na ato Duw. Nid oes arfau gwell i'w cael. Beth sydd eisieu? Nerth Duw. Nid oes eisieu newid yr arfau, na gwir anghen am newid y gweision. Beth ynte sydd eisieu? Nerth Duw. "Gwregysa dy gleddyf ar dy glun, O Gadarn, a'th ogoniant a'th harddwch; ac yn dy harddwch marchoga yn llwyddiannus, o herwydd gwirionedd, a lledneisrwydd, a chyfiawnder; a'th ddeheulaw a ddysg i ti bethau ofnadwy. Pobl a syrthiant danat, o herwydd dy saethau llymion yn glynu yn nghalon gelynion y Brenin." Pobl yn syrthio dano, ac yn ufudd iddo. Beth yw yr achos o hyny? Y saethau llymion sydd yn glynu yn y calonau. "Gwïalen dy nerth a enfyn yr Arglwydd o Sïon; llywodraetha di yn nghanol dy elynion." Y mae Duw wedi ordeinio ei Fab yn Frenin, ac wedi gorchymyn iddo godi teyrnas yn nghanol ei elynion. A gaiff efe ddeiliaid? Caiff rifedi y gwlith o groth y wawr. Caiff enedigion yn ewyllysgaryddion mewn harddwch sancteiddrwydd rifedi y gwlith o groth y wawr. Diolch am y ddau air—"nerth Duw." Diolch am yr efengyl mewn gair; ond O am gael y nerth hefyd! Dyna fel yr oedd hi ddydd y Pentecost. Nid oedd y pregethwyr ond gwaelion. Nid oeddynt ond pysgodwyr; ac yr oedd y gwrandäwyr lawer o honynt yn galed iawn, ac wedi bod yn croeshoelio Crist; ac eto fel yr oedd Pedr, yr hen bysgodwr, yn pregethu, dwysbigwyd eu calonau wrth y miloedd.

III. Yr effaith o fod yr efengyl mewn nerth, y canlyniad o hyny: "Sicrwydd mawr." Nid wyf yn

meddwl fod pob un a brofodd nerth yr efengyl bob amser mewn "sicrwydd" am ei gyflwr, ac o'i hawl yn yr iachawdwriaeth. Ond er nad yw mewn sicrwydd mawr o'i hawl, y mae mewn sicrwydd o'r pethau sydd yn yr efengyl. Nid oes modd ei dwyllo am y pethau. Pe gofynid iddo, a oes ganddo sicrwydd mawr fod Crist wedi ei brynu? Y mae yn ofni, yn ofni yn fawr. Ond pe gofynid iddo a ydyw yn ddamniol naturiol; atebai ei fod; ond mae ganddo sicrwydd fod gobaith iddo am waredigaeth. Pe gofynid iddo a oes ganddo ddigon o gred fod drwg mawr mewn pechod? Oes, sicrwydd mawr. Pe gofynid iddo a oes ganddo sicrwydd fod Crist wedi dyoddef ar y groes i wneyd Iawn er symud dyled pechaduriaid? Oes, sicrwydd mawr. Y mae ganddo sicrwydd mawr am bethau hanfodol yr efengyl, er nad oes ganddo sicrwydd mawr bob amser am ei gyflwr, ac am ei hawl i'r nef. Y mae ganddo sicrwydd mawr o wirionedd pethau yr efengyl; nid ellir ei dwyllo am hyny, er fod ammheuon weithiau yn ei feddwl am ei gyflwr ei hun. Y mae modd i weiniaid gyrhaedd sicrwydd o'u hawl i'r nefoedd. Ymdrechwn gyrhaedd y fath sicrwydd mawr a dedwydd.

## PREGETH XIV.

### UDGORN MAWR YR EFENGYL.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. DAVID EVANS, ABERAERON.*

*Mewn Cymdeithasfa yn y Bala, Mehefin 1822.*

ESAIAH xxvii. 13: "Ac yn y dydd hwnw yr udgenir âg udgorn mawr; yna y daw y rhai ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria, a'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aipht, ac a addolant yr Arglwydd yn y mynydd sanctaidd yn Jerusalem."

Y MAE y geiriau hyn yn cynnwys addewid am beth dedwydd a gymer le yn yr amser a ddaw. "Yn y dydd hwnw yr udgenir âg udgorn mawr." Hwyrach fod cyfeiriad llythyrenol y geiriau hyn at gyhoeddiad Cyrus am ollyngiad yr Iuddewon o'u caethiwed; ac yr oedd amcan ac effaith y cyhoeddiad hwnw yn werthfawr iawn i'r Iuddewon. Yr oeddynt wedi myned o'u rhan eu hunain yn llwyr anobeithiol o gael dychwelyd byth mwyach, oni buasai i'w Duw drefnu i'w gwared. Yr oeddynt fel pe buasent wedi eu claddu mewn beddau; ond y mae Duw yn addaw, trwy un o'r prophwydi, y byddai iddo agoryd eu beddau, a'u hadgyfodi. Yr oedd eu telynau yn crogi ar yr helyg, a'r gelynion yn eu goganu trwy ddywedyd wrthynt, "Cenwch i ni rai o ganiadau Sïon;" a hwythau yn gorfod ateb, "Pa fodd y canwn gerdd yr Arglwydd mewn gwlad ddyeithr?"

* Gwelir yn y Gyfrol gyntaf o'r *Gofadail* nodiad am dano ynglŷn â'i bregeth.

Felly y bu ar rai o honoch chwithau sydd yma. Buoch yn medru canu unwaith, ond erbyn hyn yr ydych yn methu canu; ond pe clywech sain yr udgorn mawr, chwi a ganech eto. "Ac yn y dydd hwnw yr udgenir âg udgorn mawr; yna y daw y rhai sydd ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria." Er eu bod wedi eu gwasgaru yn nhir Assyria, ac ar ddarfod am danynt, cânt ddychwelyd oddiyno, pan glywant udganiad yr udgorn mawr. A dychwelir hefyd "y rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aipht." Yr oedd llawer o honynt wedi cilio i'r Aipht, gan feddwl y buasent drwy hyny yn cael eu gwaredu rhag y Caldeaid; ond fe gafodd yr Aipht wedi hyny ei darostwng gan y Caldeaid; ond y mae yr Arglwydd yn ychwanegu y byddai iddynt gael eu casglu oddiyno hefyd.

Ond yr wyf yn meddwl y gwnawn gam â'r geiriau wrth eu cyfyngu i'r gwaredigaethau o dir Assyria a'r Aipht, oblegid y mae sail i farnu eu bod yn cyfeirio at udganiad udgorn mawr yr efengyl. "Ac yn y dydd hwnw yr udgenir âg udgorn mawr." Pan y mae yr Arglwydd yn addaw gwneyd rhyw orchwyl mawr, y mae yn penodi rhyw ddydd mawr i gyflawni y gwaith: "Yn y dydd hwnw yr udgenir âg udgorn mawr." Y mae gan Dduw ei waith i'w gario ymlaen, ac y mae ganddo ei ddydd i'w gyflawni, ac ni flina nes cyflawni ei waith. Yr oedd golwg yr Arglwydd ar y dydd hwnw er tragywyddoldeb, ac ar y gwaith mawr oedd ganddo i'w wneyd yn y dydd hwnw; ac mae'n debyg fod yma gyfeiriad at ddydd yr efengyl.

Dywedwn ychydig yn

I. Mewn perthynas i'r udgorn mawr.

II. Yr udganu a'r udgorn mawr; oblegyd nodir yma y bydd i'r udgorn mawr gael ei udganu. "Yn y dydd hwnw yr udgenir." Y mae swn y gair yn arwyddo na dderfydd yr udganu. Bu llawer o son, pan ddechreuodd udganu, y dystawai yn fuan, ac y darfyddai udganu; ond

nid oes fawr o debyg am hyny. Pa sain bynag a ddystawa, ni ddystawa sain yr udgorn mawr. Mae'n seinio yn awr mor uchel ac mor fwyn ag erioed.

III. YR EFFEITHIAU BENDIGEDIG FYDD YN CANLYN UDGANIAD YR UDGORN MAWR: "Daw y rhai ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria, a'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aipht, ac a addolant yr Arglwydd yn y mynydd sanctaidd yn Jerusalem." Fe allai y daw y dydd hwnw, ac fe allai y cenir âg udgorn mawr. Nage, nid fe allai; *fe ddaw* y dydd hwnw, ac "yna yr udgenir âg udgorn mawr."

I. Dywedwn ychydig eiriau AM YR UDGORN MAWR. Wrth yr udgorn mawr y meddylir Efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Ymadrodd cymhariaethol ydyw y geiriau. "Udgorn mawr," yn cyfeirio fe ddichon at yr udgyrn arian oedd yr Arglwydd wedi orchymyn i Moses eu gwneuthur i wahanol ddybenion. Yr oeddynt i gael eu gwneuthur o arian i'w dybenion priodol, yn ol cyfarwyddiadau Duw. Darfu i'r Arglwydd orchymyn i Moses gan ddywedyd, "Gwna i ti ddau udgorn arian, yn gyfanwaith y gwnai hwynt; a byddant i ti i alw y gynnulleidfa ynghyd, ac i beri i'r gwersylloedd gychwyn. A phan ganant â hwynt yr ymgasgl yr holl gynnulleidfa atat wrth ddrws pabell y cyfarfod." Ac y mae yr efengyl yn cael ei galw yn udgorn mawr mewn cyferbyniad i'r udgyrn hyny: ac y mae yr efengyl yn debyg i'r hyn oedd yn cael ei arwyddo yn yr udgyrn.

1. Yr oeddynt yn gyffelybiaeth o'r efengyl yn eu gwneuthuriad. Yr oeddynt i gael eu gwneuthur yn ol gorchymyn Duw, ac i gael eu gwneuthur o arian, ac i gael eu gwneuthur yn gyfanwaith, o un darn o arian. Nid i gael eu clytio o wahanol ddarnau oddiyma ac oddidraw, ond yn un cyfanwaith. Felly un darn o gyfanwaith pur ydyw yr efengyl, heb ynddi ddim yn groes i'w gilydd. Y mae yn dal yn gyfanwaith ardderchog er cymaint y mae cyfeil-

iornwyr anffyddiog wedi wneyd er ceisio ei dryllio. Os ydych chwi yn methu gweled ei nerth a'i harddwch fel cyfanwaith, y mae y diffyg ynoch eich hunain, nid ynddi hi. Un cyfanwaith gogoneddus ydyw. Un athrawiaeth gyfan, ddysglaer, ogoneddus, bwysfawr, heb ynddi unrhyw fwlch na gwyrni, na dim yn groes i'w gilydd. "A'n hymadrodd ni wrthych chwi," meddai yr Apostol (2 Cor. i. 18—20), "ni bu ïe, a nage; canys Mab Duw, Iesu Grist, yr hwn a bregethwyd yn eich plith genym ni," sef genyf fi a Silfanus a Thimotheus, "nid ydoedd ïe a nage: eithr ynddo ef ïe ydoedd: oblegid holl addewidion Duw ynddo ef ydynt ïe, ac ynddo ef Amen; er gogoniant i Dduw trwom ni." Dyna un o nodweddau udgorn yr efengyl; cyfanwaith ydyw, na fedr neb ei ddryllio.

2. Yr oedd yr udgyrn hyny yn gosod allan yr efengyl yn ei gwaith. (1.) Yr oeddynt yn cael eu defnyddio i alw y gynnulleidfa ynghyd. Felly dyna amcan udgorn mawr yr efengyl, ein casglu ninnau ynghyd, a gobeithio y clywir llais Mab Duw drwy'r udgorn. (2.) I beri i'r gwersyll gychwyn. Byddai yn werthfawr iawn pe byddai i'r udgorn yma heddyw ateb y dyben o gychwyn y gwersyll.

3. Yr oeddynt hefyd i gael eu hudganu ar ddyddiau yr uchelwyliau, uwch ben yr offrwm poeth, ac uwch ben yr aberth hedd, ac yn neillduol ar ddydd mawr y cymmod, ddechreu blwyddyn y Jubili. Yr oeddynt yn galw y dynion gwanaf yr amser hyny i feddiannu eu braint, ac yn cyhoeddi rhyddid i'r caethion. Felly udgorn yr efengyl; y mae yn cyhoeddi "rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym." Garcharorion, deuwch allan; mae'r carcharau wedi eu hagor.

Gair eto am FAWREDD yr udgorn. Y mae rhyw fawredd annarluniadwy yn perthynu iddo. "Y dydd hwnw yr udgenir âg udgorn *mawr*." Y mae rhyw fawredd yn yr udgorn, a mawredd i ddilyn ei sain. Felly y mae mawredd

anfeidrol yn yr efengyl. Y mae llawer o wendidau yn ein hanghymhwyso ni i fod yn udganwyr mawr; ond y mae genym udgorn mawr. Un fawr fawr ydyw yr efengyl.

1. Duw mawr yw ei hawdwr; a dyna y peth blaenaf sydd yn rhoddi mawredd arni. Nid geiriau dynol ydyw, ond "efengyl gogoniant y bendigedig Dduw." Y mae yr apostol yn dywedyd am dano ei hun, ei fod wedi cael ei alw i fod yn apostol, ac wedi cael ei neillduo i efengyl Duw. Gwelwch drwy hyn yn eglur mai y Duw mawr ydyw ei Hawdwr. Y mae mawredd yr efengyl yn gysylltiedig â mawredd anfeidrol ei Hawdwr. "Efengyl gogoniant y bendigedig Dduw" ydyw. Os ydych am weled llewyrch dysglaer mawredd a gogoniant Duw, edrychwch arno yn nrych mawr yr efengyl. "Efengyl gogoniant y bendigedig Dduw" ydyw. Nid wyf yn meddwl yr ymddengys gogoniant Duw yn fwy dysglaer mewn dim nag yn yr efengyl. Dyma lle y mae ei belydrau dysgleiriaf yn ymddangos.

2. Gwaredwr mawr y mae yn ei gyhoeddi; Gwaredwr mawr i fyd colledig. 'Paul, apostol Iesu Grist, wedi ei alw i fod yn apostol, ac wedi ei neillduo i efengyl Duw, am ei Fab ef Iesu Grist ein Harglwydd ni; yr hwn a wnaed o had Dafydd o ran y cnawd, ac a eglurwyd yn Fab Duw mewn gallu, yn ol Ysbryd sancteiddiad, trwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw." Onid digon i ni ydyw Gwaredwr felly? Er maint ein hanghen, dyma Un digon ar ein cyfer. Dyma Berson anfeidrol â digon ynddo i wneuthur diffyg Sïon i fyny am byth. Ceidwad mawr ydyw, ac uwch uwch yr elo!

3. Effaith cariad a gras mawr yw yr efengyl. Er mwyn yr Arglwydd Iôr, peidiwch edrych yn isel ar yr efengyl; oblegid y mae mawredd a gwerth anfeidrol yn perthynu iddi. Y mae yn ffrwyth y cariad a'r gras mwyaf. Ffrwd ddiball ydyw a darddodd o ras yn unig, a llifodd i'n daear ni. Yr oedd ei tharddiad o le uchel iawn. Y mae wedi llifo atom o orsedd Duw; ac nid ä yn ol heb ateb ei dyben. Llestr

mawr ydyw wedi dyfod o'r nef fry i lawr i'r ddaear, ac y mae ei phedair congl yn ein cyrhaedd; ac erys felly i gael eu llenwi cyn ei thynu yn ol; a bydd ei llon'd yn myned adref i ogoniant. Ffrwyth y cariad a'r gras mwyaf ydyw yr efengyl. Cawsom lawer o drugareddau gan Dduw erioed, ond ni chawsom ddim erioed o gymaint gwerth a'r efengyl. "Yn hyn y mae cariad, nid am i ni garu Duw, ond am iddo ef ein caru ni, ac anfon ei Fab i fod yn Iawn dros ein pechodau ni."

4. Ffrwyth doethineb mawr yw'r efengyl. Os ydych am weled amryw ddoethineb Duw, edrychwch ar ei ddoethineb yn wyneb yr efengyl. Os syllwn ar ddoethineb Duw yn yr efengyl, ni bydd genym ond gwaeddi, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! Mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt! Canys o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef y mae pob peth. Iddo ef y byddo gogoniant yn dragywydd. Amen."

5. Bendith fawr y mae yn gyhoeddi. Anfonwyd llawer cyhoeddiad allan i gyhoeddi pethau uchel, gwerthfawr, ar hyd y byd; ond ni chyhoeddwyd erioed ddim o gymaint gwerth a'r efengyl. Ni chlywsom erioed am fendithion o'r fath werth ag a gynnygir yn yr efengyl. Pethau ydynt ag sydd yn ateb yn llawn i ddyfnder anghenion pechadur; noddfa i'r euog, gwledd i'r newynog, meddyginiaeth i'r claf, gwisg i'r noeth, traed i gloffion, llygaid i ddeillion, clustiau i fyddariaid, iachawdwriaeth lawn i rai wedi eu damnio; dwfr gloew i'r sychedig, bywyd i feirw; mewn gair, pob cyflawnder i wneyd i fyny anghen yr enaid am byth. Dyma ddigon. Dyma fendithion a geidw enaid wrth ei fodd pan fydd yn cefnu ar y byd. Y mae yn yr efengyl nerth i godi rhai o'u beddau. "Y mae yr awr yn dyfod, ac yn awr y mae, pan glywo y meirw lef Mab Duw, a'r rhai a glywant a fyddant byw." Y mae yn gysur i ni fod yr awr yn dyfod, ond y mae yn gysur mwy, "Yn awr y mae."

6. Efengyl fawr yw hi oblegid y pethau mawrion a wna Duw drwyddi. "Udgorn mawr," ac y mae Duw yn bwriadu gwneyd pethau mawrion drwyddo. Gwnaeth bethau mawrion, a gwna eto bethau mwy. Pâr sain yr udgorn yma i'r ddaear grynu drwyddi. Gwnaeth Duw bethau mawrion unwaith drwy udgyrn o gyrn hyrddod. Er fod pobl Jericho yn gwawdio eu hudganiad, daeth muriau Jericho i lawr. Ond y mae yr Arglwydd yn bwriadu bwrw muriau cadarnach i lawr âg udgorn mawr yr efengyl. Gwnaeth lawer tro y pethau rhyfeddaf drwyddo, a gwna fwy eto. O na welai yn dda agoryd ei fynwes a chyfranu i ni yma heddyw, o'r goludoedd o ras sydd wedi eu trysori ynddo!

II. Yr Udganu: "Yn y dydd hwnw yr udgenir." Ië, derfydd bellach udganu. Na; na wna; udgenir o hyd nes y clywir swn yr udgorn diweddaf. Pan y derfydd udgorn efengyl udganu, clywir sain udgorn y farn. Yr oedd rhai yn meddwl y darfyddai yr udganu pan y galwyd ymaith yr hen udganwyr cryfion, enwog, tanllyd; ond y mae udganwyr gwresog eto yn dyfod allan i'r maes, ac fe godir rhai gwell o hyd; ond yr un ydyw yr udgorn. Dechreuodd yr udgorn mawr hwn udganu yn fore iawn. Rhoddodd sain i'n tad a'n mam cyntaf yn Eden, a buasai yn dywyll ac anobeithiol arnynt oni buasai hyny. "Adda, pa le yr wyt ti?" Wel, Arglwydd mawr, oni wyddost ti pa le y mae? Gwn, ond y mae arnaf eisieu iddo yntau wybod hyny hefyd. Udganwyd ef wedi hyny gan batriarchiaid a phrophwydi, a chan yr Arglwydd Iesu ei hun; ac efe oedd yr udganwr pereiddiaf; ac wedi ei glywed ef yn udganu, dechreuwyd gan yr apostolion; ac y mae yr udgorn mawr i gael ei udganu nes yr elo ei swn hyfryd dros y byd. Y mae holl weinidogion y Testament Newydd i chwythu yr udgorn hwn; ac y mae llwyddiant mawr yn sicr o ddilyn yr udganu.

1. Fe'i cenir yn gryf. "Yna y llama y cloff fel hydd, ac y cân tafod y mudan; canys dyfroedd a dŷr allan yn yr anialwch, ac afonydd yn y diffeithwch." Peidiwch a rhyfeddu os clywch ambell un yn y gymanfa yma yn gwaeddi "Bendigedig!" Pwy all beidio gwaeddi Diolch yn swn udgorn bendigedig yr efengyl?

2. Fe'i cenir yn llwyddiannus. Beth bynag a fetha lwyddo, fe lwydda yr udganu yma. Bu llwyddiant mawr ar yr udganu yn amser yr apostolion, ar ol esgyniad yr Arglwydd i'w orsedd fel Eiriolwr. Argyhoeddwyd tair mil yn yr un dydd. Yr un ydyw yr udgorn eto, ac yr un ydyw y Crist sydd yn cael ei gyhoeddi.

III. YR EFFEITHIAU BENDIGEDIG FYDD YN CANLYN UDGANIAD YR UDGORN MAWR: "Yna y daw y rhai ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria." Y mae rhai yn dywedyd fod yr ymadrodd gwreiddiol a gyfieithir yma "ar ddarfod am danynt," yn arwyddo rhai *wedi* darfod am danynt. Yna y daw rhai wedi darfod am danynt; rhai wedi colli pob gobaith am gadwedigaeth. "Yna y daw;" yr ydym bron yn clywed eu swn yn dyfod. "A'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aipht," hwythau hefyd a "ddeuant i addoli yr Arglwydd yn y mynydd sanctaidd yn Jerusalem."

1. Hwy a ddeuant i'r eglwys. Flaenoriaid y tŷ, rhoddwch le iddynt. Broffeswyr ieuainc, gochelwch dynu yn ol. Y mae swn tyrfa yn dyfod; agorwch y pyrth a gwnewch le iddynt. Hwy a ddeuant.

2. Hwy a ddeuant i'r nefoedd. "A gwaredigion yr Arglwydd a ddychwelant ac a ddeuant i Sïon, â chaniadau ac â llawenydd tragywyddol ar eu pen. Goddiweddant lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffŷ ymaith."

## PREGETH XV.

### DIOGELWCH Y SAINT.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN JONES, TREFFYNNON.*

*Yn Nghymdeithasfa y Bala, yn 1822.*

RHUFEINIAID viii. 1: "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu, y rhai sydd yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd."

Y MAE y seithfed bennod yn bennod galar y cristion; ond nid pennodau galar ydyw ei bennodau i gyd. Y mae y bennod hon yn bennod o orfoledd iddo. Y mae llawer yn meddwl mai rhan go fechan o gysur sydd i'r duwiol; ond y mae hyny yn gamgymeriad. Y mae yn wir fod llawer o brofedigaethau ac o ofidiau yn cyfarfod duwiolion. Gwna y diafol a'i luoedd eu goreu yn eu herbyn er

* Gŵr tra adnabyddus yn y Dywysogaeth ydoedd y Parch. JOHN JONES o Dreffynnon. Argyhoeddwyd ef, pan yn fachgen gwyllt ac anystyriol, trwy weinidogaeth Richard Tibbot o Lanbrynmair, tua'r flwyddyn 1787. Cyn pen dwy flynedd dechreuodd bregethu, a neillduwyd ef i'r holl wasanaeth yn 1820. Yr oedd, meddai ei fywgraffwyr, yn llawn o hynodion. Arferai lawer o gyffelybiaethau, a brithai ei bregethau â ffraeth-ymadroddion, y rhai a barent weniadau mynych, os nad ysgafnder weithiau. Gŵyr ein darllenwyr yn ddiammeu mai tad ydoedd i'r diweddar Barch. Benjamin Jones, Bagillt—gŵr da, llawn o ffydd, a gair da iddo gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Y mae y bregeth hon o eiddo y tad, buasem yn casglu, yn nodweddiadol iawn o hono, ac yn debyg i'r dull yr arferai bregethu yn gyffredin. Hwyrach mai wrth bregethu hon yr arferai ddyweyd "nad oedd dim pren crogi yn tyfu yn ngardd Crist, ond fod yno wïail bedw i geryddu'r plant."

achosi iddynt dristwch; ond nid tristwch ydyw y cyfan y maent yn gael. Pell iawn oddiwrth hyny, y mae ganddynt sail am gryfach cysur na neb arall; a phe na byddai ganddynt achosion cysur ond y rhai a gynnwysir yn y bennod hon, ïe, dim ond yr hyn a gynnwysir yn yr adnod a ddarllenais, gallent fod yn llawen, ac ni byddai ryfedd iddynt orfoleddu. Nid effeithiau ynfydrwydd a gwallgofrwydd penboethni ydyw eu llawenydd. Y mae sail dda iddo. "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Ië, fe allai, medd rhywun, nad oes dim damnedigaeth ar neb, ond y rhai sydd yn uffern yn awr. Y mae yn wir fod byd da ar bawb sydd yma, o'i gymharu â'r byd sydd yno; ond eto wrth gymharu cyflwr yr annuwiol â chyflwr y duwiol, ceir nad yw ond tlawd a gwael iawn. Ni wyr y byd ddim am y cyflwr dychrynllyd y mae yr annuwiol ynddo. Mewn perthynas i'r mater hwn dywedir i ni fod y byd oll dan farn condemniad. Beth ydyw pechod Adda i ni? medd rhywun. "Trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad." Ni wn i ddim am helaethrwydd y dystryw a ddaeth; ond gallaf ddyweyd ei fod yn fwy na dim gewch chwi glywed yn y Gymanfa hon. Pa beth ydyw? Fod "barn wedi dyfod ar bob dyn i gondemniad;" a bod y farn hono yn aros ar bawb ond y rhai sydd yn Nghrist Iesu. Y mae y dynion sydd allan o Grist Iesu yn debyg iawn i weision Benhadad, y rhai wedi tynu brenin Israel yn eu herbyn, a deall y deuent i ddystryw, oni byddai iddynt arfer eu cyfrwysdra nes cael brenin Israel i dosturio wrthynt; ac fe benderfynwyd mai y ffordd debycaf i gael hyny fyddai, drwy fyned at frenin Israel â rhaffau am eu gyddfau. Felly yr oeddynt yn myned trwy y lludw at frenin Israel; ac nid oedd eisieu ond tynu tipyn yn y rhaffau er eu crogi; a dyna, meddai rhyw un, ddynion wedi gwneyd gwerth eu crogi. Ond myned yn isel a wnaethant felly, a thrugarhäwyd wrthynt, a hwy

aethant adref â'u gyddfau yn rhyddion. O na byddai fel hyn yn nghyfarfod blynyddol y Bala! Y mae yma lawer o honom â'r rhaffau am ein gyddfau; ond os oes un cyfarfod wedi pasio â'r rhaffau heb eu tynu oddiar yddfau rhai yma, y mae modd eu tynu ymaith eto.

Dyna y cyflwr ofnadwy y mae dynion ynddo wrth natur, dan gondemniad. Pa fodd y mae dynion yn medru bod mor dawel a boddlawn yn y fath gyflwr! Y mae y diafol yn weithiwr cywrain dichellgar; ni chawn wybod am y cyflwr yr ydym ynddo o'i fodd ef; ond y mae yr Arglwydd yn ei ddangos i rai heb ei waethaf. Beth yw'r cynhwrf, medd rhywun, sydd ar y bobl? Y maent yn gweddïo ac yn diolch ar unwaith. Y maent yn diolch am eu bod wedi cael eu gyddfau yn rhyddion, ac yn gweddïo am i tithau gael dy wddf yn rhydd.

"Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Ië, ni bu dim damnedigaeth iddynt. O do, do, fe fu. Fe allai nad oes fawr er pan gafodd ei symud,—er pan y cafodd rhai eu gyddfau yn rhyddion; ond fe'u cafwyd. A newidiwyd eich sefyllfa a'ch cyflwr chwi, bobl anwyl?

"Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Ie, medd rhywun, y mae dyddiau cymylog iawn yn awr, ond ceir gweled llawer o bethau ar ol myned i fyd arall. Wel, y mae modd gweled hyn yn awr, nad oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu. Dyna yr hyn sydd i'w gael gyda chrefydd iawn, cadw y bywyd, tynu y rhaff oddiam y gwddf, a diogelu y pechadur rhag damnedigaeth. Y mae hyny mewn gwir grefydd.

Tro am byth ydyw y tro hwn. "Aeth Iesu i mewn i'r cysegr, drwy ei waed ei hun, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd." Nid dianc am ryw ychydig o amser, ond dianc am byth; "gan gael i ni dragywyddol ryddhâd." Gwyddai Job hyn yn dda, mai nid rhyw ddiangfa dros ychydig oedd,

canys dywedai, "Yno yr uniawn a ymresymai âg ef; felly mi a ddiangwn byth gan fy Marnwr." Tro am byth ydyw achub pechadur. Dianc byth. Diangwn byth. Y mae y cyfryw yn rhyddion am byth. Felly dywedodd yr Arglwydd Iesu, "Os y Mab a'ch rhyddhâ chwi, rhyddion a fyddwch yn wir." Y mae y rhai sydd yn Nghrist Iesu mor ddiangol, mor ddiogel a'r rhai sydd yn y nefoedd. Y mae yn wir nad ydynt mor bur, ac mor hwylus, ac mor gymhwys a'r rhai sydd wedi myned yno, ond hwy a fyddant felly yn fuan. Y maent mor ddiogel a'r rhai sydd yno. Yr oedd Daniel mor ddiangol yn ffau y llewod ag ydoedd y brenin pan yn ei wylio yno; ïe, ac yn fwy diangol. "A ddichon dy Dduw di," meddai y brenin, "yr hwn yr ydwyt yn ei wasanaethu yn wastad, dy gadw di rhag y llewod?" Dichon, a rhag y diafliaid hefyd. "O frenin, bydd fyw byth." Paham na buasai Daniel, meddai rhywun, yn bwrw y bai ar y brenin, am ei daflu i'r ffau? Nid yw y saint ddim yn dysgu rhoddi gair drwg i frenin. "Meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw;" ac y mae yn eithaf diogel yno. Pan oedd Dafydd wedi myned i'ddial ar Nabal y Carmeliad am siarad mor arw wrth ei weision, yr oedd ganddo achos i ddial. Y mae llawer o frodyr i'r Nabal hwnw eto yn siarad yn angharedig iawn am feibion Duw; ond cadwed Duw ni rhag myned i ddial. Fe glybu Abigail fod Dafydd yn dyfod i ddial, a hi a aeth i'w gyfarfod ef, ac meddai wrtho, Ni raid i ti ddim ofni Nabal. Ni rwystra neb mo honot ti i'r orsedd: "Y mae bywyd fy arglwydd wedi ei rwymo yn rhwymyn y bywyd gyda'r Arglwydd dy Dduw; a phan y'th osodir di yn flaenor ar Israel, yna ni bydd hyn yn ochenaid i ti dywallt gwaed heb achos; neu ddial o'm harglwydd ef ei hun; ond pan wnelo Duw ddaioni i'm harglwydd, yna cofia di dy lawforwyn. A dywedodd Dafydd wrth Abigail, Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel, yr hwn a'th anfonodd di y dydd hwn i'm cyfarfod i;

bendigedig hefyd fo dy gynghor, a bendigedig fyddych dithau, yr hon a'm lluddiaist y dydd hwn rhag dyfod dywallt gwaed."

Y mae dy fywyd yn ddiogel. "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." "Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw; ïe, yn hytrach, yr hwn a gyfodwyd hefyd." Os na wnaeth efe ddigon felly, beth sydd ddigon? Y mae yn ei farwolaeth ef ddigon er cadw y rhai y bu farw drostynt.Ië, efe a fu farw fel y byddai yn bosibl eu hachub, ac ni chânt byth eu damnio. Nid oedd aberth y teulu ddim yn marw heb fod canlyniad i'w farwolaeth; ac yr oedd y canlyniad yn sicr. Yr oedd perchenog yr asyn i'w brynu âg oen; ac yr oedd yn rhaid torfynyglu neu dori gwddf yr asyn heb ei brynu; ond nid oedd neb a feiddiai ei ladd ar ol ei brynu âg oen. Yr oedd yr un gofal am ei fywyd ar ol ei brynu ag oedd yn erbyn ei fywyd cyn ei brynu. Wrth weled yr asyn wedi hyny yn ei boen dan ei bwn, gallai rhywun ddywedyd mai un annhrugarog iawn oedd ei berchen; ond gallasai yr asyn ateb, Pe baech chwi yn gwybod y cwbl am danaf, ni ddywedech hyny. Nis gallaf oddef i chwi feïo fy mherchenog, yr hwn a brynodd fy mywyd. Llawer o guro felly ar yr asynod sydd gan bawb. Y mae llawer iawn o ergydio ar bobl Dduw; ond "byr ysgafn gystudd sydd iddynt, yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant." Y mae duwioldeb yn fuddiol i bob peth; deil ymhob man, ac yn y cystuddiau trymaf. "Nid oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu."

# PREGETH XVI.

## BYWYD CRIST A'R SAINT.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. THOMAS RICHARDS, ABERGWAEN.*

*Yn Llanbrynmair, yn 1819.*

"IOAN xiv. 19: "Eto enyd fach a'r byd ni'm gwel mwy, eithr chwi a'm gwelwch; canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd."

YR "enyd fach" a olygir yma ydoedd yr amser ag y bu Crist o'r pryd hwnw ar y ddaear cyn ei farwolaeth a'i gladdedigaeth. "A'r byd ni'm gwel mwy." Ni chafodd y byd ddim ei weled mwy ar ol ei gladdedigaeth. Ni eglurodd efe mo hono ei hun i'r byd ar ol ei adgyfodiad; "eithr chwi a'm gwelwch." Cawsant hwy ei weled tra y bu ar y ddaear. Ni chafodd y byd olwg arno ar ol ei adgyfodiad; eto nid oedd

* Geilw Dr. Owen Thomas y Parch. THOMAS RICHARDS yn un o feistriaid y gynnulleidfa, ac un o addurniadau penaf y pulpud Cymreig. Yr oedd ef, fel y mae yn wybyddus, yn frawd i Mr. Ebenezer Richards. Cafodd ei argyhoeddi pan yn 14 oed, a dechreuodd bregethu pan tuag 20 oed; a daeth yn fuan, meddir, yn un o'r pregethwyr mwyaf swynol, a phoblogaidd, a dylanwadol yn holl Gymru. Clywsom y diweddar Barch. David Jones o Dreborth yn dyweyd iddo ei glywed yn y Bala yn pregethu ar y geiriau hyny, "Had y wraig a ysiga dy ben di, a thithau a ysigi ei sawdl ef." Yr oedd yn dyweyd na chlywodd y fath lifeiriant o hyawdledd gan ddyn erioed. Clywsom ef y tro diweddaf y bu ar daith yn y Gogledd mewn capel ëang ar nos Sabboth, yn pregethu ar y geiriau, "Awn yn hyderus at orseddfainc y gras." Dywedai ei gyfaill Thomas Nathan, mai dyma y pryd yr oedd yn Thomas Richards oedd y noson hono. Gwaeddai yn effeithiol dros ben,—"Gorsedd ydyw, paid rhyfygu, bechadur. Gorsedd gras ydyw, paid gwangaloni." Yna treblai y gair "Awn, awn, awn," gyda dylanwad nad anghofiwn.

neb yn ei adnabod yn iawn yn ei fywyd ond y rhai a'i gwelsant ar ol ei adgyfodiad. Y rheswm a'r sicrwydd sydd y caent hwy ei weled oedd ei eiriau: "Canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Duw y nefoedd yn unig all ddywedyd y geiriau, "Byw wyf fi." Y mae yr Arglwydd Iôr wedi arfer dyweyd, "Byw wyf fi." Nid all neb ond Duw ddywedyd hyn. A phe na buasai yr Arglwydd Iesu yn ogyfuwch â Duw, buasai yn gabledd iddo ddyweyd, "Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." "Byw wyf fi," meddai; 'y mae genyf awdurdod ar fy einioes, i'w rhoddi i lawr o honof fy hun, ac i'w chymeryd hi drachefn; ac hefyd nid yw fy marwolaeth fel marwolaeth rhai eraill; y mae genyf bersonoliaeth a fydd byw yn amser marwolaeth. A byw fyddwch chwithau hefyd; cewch fywyd o ras ar y ddaear, a bywyd o wynfyd mewn gogoniant am byth.'

Y mae yr Arglwydd Iesu yn y geiriau hyn yn rhanu y byd yn ddwy ran, sef y byd a chwithau. "Y byd ni'm gwel, ond chwi a'm gwelwch." Y mae Iesu felly yn cael ei weled gan y naill, ac heb gael ei weled gan y llall. Nid oes ond dwy ran yn y byd; ac y mae gormod o un, a rhy fach o'r llall. Wrth leihâu y rhan fwyaf, mwyheir y rhan leiaf. Rhan Satan sydd yn ormod, a rhan Crist yn rhy fach. Nid rhan gyfiawn ydyw un Satan, ond rhan anghyfiawn. Ond y mae rhan Crist yn un gyfiawn iddo. A myn ef ei ran oddiar Satan er ei waethaf; a thrwy hyny mwyheir rhan Crist, ond lleiheir rhan Satan. Rhaid i'r Iesu ddwyn yr yspail o law y creulawn hwn, oblegid nid oes ganddo hawl iddo. A dyma yw y rhanau, neu y gwahaniaethau mawr sydd yn y byd—y byd a chwithau. Wrth y "byd" y meddylir y rhai sydd yn byw yn y byd, ac wrth y "chwithau" yma y meddylir y rhai sydd wedi eu galw o'r byd ac yn arddel Iesu. Y mae'r byd yn cael ei alw yn fyd oblegid fod pawb wrth natur o'r byd; ac oblegid fod pawb wrth natur yn byw ac yn rhodio yn ol helynt y byd hwn; ac hefyd oblegid mai Duw y byd hwn

ydyw, llywydd 'eu calonau. Y byd a chwithau. Rhoddwn rai gocheliadau rhag camgymeryd y gwahaniaeth, neu yr hyn sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth sydd rhwng y byd a'r chwithau.

1. Nid eu bod yn proffesu crefydd, ac wedi dyfod at grefydd, yw yr hyn sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth. Y mae llïaws mawr o'r byd yn proffesu crefydd Mab Duw, ond gyda'r byd y bydd Mab Duw yn eu cyfrif pan y daw ar gymylau y nef. Nid proffes yn unig sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth.

2. Gocheled neb rhag meddwl mai bod yn ddiniwed, ac heb haeddu ceryddon eglwysig, ydyw yr hyn sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth rhwng y byd a'r chwithau. Y mae llawer wedi bod yn ddiniwed a diargyhoedd dros lawer o flynyddoedd, fel na bu achos erioed eu ceryddu, ond er hyny heb fod dim gwahaniaeth sylweddol wedi cael ei wneyd arnynt erioed.

3. Gocheled neb feddwl mai bod yn elusengar ac yn foesol yw yr hyn sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth hwn. Nid wyf yn dyweyd nad yw llawer o'r rhai sydd felly wedi cael y peth sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth; ond y mae modd bod yn foesol heb gael profiad o'r gwahaniaeth. Rhaid cael mwy na hyny.

4. Gocheled neb feddwl mai egwyddorion addysg, a dygiad i fyny crefyddol, sydd yn ddigon i wneyd y gwahaniaeth. Y mae'n rhaid cael peth mwy; ond nid yw hyny yn dirymu na lleihâu dyledswydd neb i egwyddori a dysgu eu plant. Dylai pawb fod yn ymdrechgar, a gwneyd eu goreu i ddysgu plant; ond nid dyna fydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth sydd rhwng y byd a'r chwithau.

5. Gocheled neb feddwl mai bod yn ddefnyddiol sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth. Gellir bod yn ddefnyddiol mewn llawer o amgylchiadau allanol, ac heb wybod am y cyfnewidiad. Gall rhai o'r byd fod felly; a chael eu gadael

gyda'r byd pan y daw yr Iesu ar y cymylau i farnu y byd.

6. Nid bod yn ddyfal wrandäwr y gair, ac nid bod yn ddarllenwr y gair, ac nid bod yn bregethwr nac esboniwr y gair, ac nid bod yn ddadleuwr dros y gair, yw y peth sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth. Y mae llaweroedd felly nad ellir dywedyd am danynt nad ydynt yn rhai o'r byd; ond mae'n bosibl i ni feddu yr holl bethau hyn, a chael ein cyfrif gyda'r byd yn y diwedd.

Beth ynte yw yr hyn sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth rhwng y byd a'r chwithau? Galw o gyflwr euog i ystad o ras. Symud o dan y cyfammod cyntaf i ryddid y cyfammod gras. Os heb y cyfnewidiad hwn, yr ydym heb y peth sydd yn gwneyd y gwahaniaeth.

"A'r byd ni'm gwel mwy; eithr chwi a'm gwelwch." "A'r byd ni'm gwel mwy;" a'r achos o hyny yw,

1. Golwg gnawdol sydd gan y byd. Nid oes yr un dyn yn y cnawd all ddeall pethau Duw.

Golwg fer sydd gan y byd. Ni wêl ddim tu hwnt i'r byd, ac ni wêl y byd ond yn dywyll iawn. Nid yw yn canfod ond rhyw niwl dros bob peth. Golwg fer, gul, sydd gan y dyn a welodd fwyaf o'r byd; a phe byddai bosibl i ryw un ddeall llawer am bob peth sydd yn y greadigaeth, golwg fer iawn fyddai ganddo wedi y cwbl. Yr olwg gliriaf ellir gael ar bob peth sydd yn y greadigaeth, ydyw ceisio gweled Duw yn y cyfan. Duw ydyw coron ardderchogrwydd pob creadur. Y mae mwy o Dduw ymhob peth nag sydd o ddim arall ynddynt. Pe gellid gweled y byd i berffeithrwydd, golwg fer fyddai wedi'r cyfan, os na welid Duw yn ei greadigaeth.

3. Golwg anmherffaith iawn yw golwg y byd. Ni wêl y byd mo eglwys Dduw er amlyced ydyw. Beth ydyw eglwys Dduw? "Gwraig wedi ei gwisgo â'r haul, a'r lleuad dan ei thraed, ac ar ei phen goron o ddeuddeg seren." Pwy

ydyw hi? gwraig a brenines hefyd. Brenin ydyw ei gŵr, a brenines yw y wraig; ac am dani y mae y wisg ddysgleiriaf sydd yn bod: "Wedi ei gwisgo â'r haul, a'r lleuad dan ei thraed, ac ar ei phen goron o ddeuddeg seren." Y mae'r byd yn methu gweled y Gwaredwr, "eithr chwi a'm gwelwch." Pa fodd y maent hwy yn gallu gweled yr Iesu tra y mae y byd yn methu ei weled? Y mae yn rhaid fod ganddynt well llygaid na'r byd. Pa fath lygaid sydd ganddynt?

1. Golygon ysbrydol sydd ganddynt. Edrych y maent ar y pethau ni welir. Gweled y maent yr anweledig. Y mae y golygon hyn yn galluogi yr hwn sydd yn eu meddu i orchfygu y byd. Y maent yn drech na'r byd pan y mae yn gwenu, a phan y mae yn gwgu. "A hon yw yr oruchafiaeth sydd yn gorchfygu y byd, sef ein ffydd ni." Fe aeth Moses, drwy fod y llygaid hyn ganddo, yn drech na holl nerthoedd yr Aipht. Yr oedd yn edrych ymhellach na'r Aipht. Gwrthododd yr holl olud a'r gogoniant oedd o'i gwmpas. "Ymwrolodd fel un yn gweled yr anweledig." Barnodd "yn fwy golud ddirmyg Crist na holl drysorau yr Aipht." "Edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gobrwy."

2. Golygon sicr o'u gwrthddrych ydynt. Gall ffydd weithredu ar dragywyddoldeb yn gystal ag ar amser. Yr oll o ffydd ydyw, ei gwaith a'i Gwrthddrych. Nid yw yn gosod ei throed ond ar ddau fan o'n byd ni i nefoedd Duw: o'n tlodi ni i'w gyfoeth Ef. Y mae yn gweithredu o hyd er pob rhwystrau; fel y wraig o Ganaan, yr hon yr oedd ei merch yn ddrwg ei hwyl gan gythraul; ei gwaith hi oedd credu, a Gwrthddrych ei chred oedd Iesu. "Arglwydd," meddai, "trugarha wrthyf, canys y mae fy merch yn ddrwg ei hwyl gan gythraul." Dywedodd yntau, "Nid cymhwys cymeryd bara y plant, a'i daflu i'r cŵn." Ond, meddai hithau, "y mae y cŵn yn cael y briwsion sydd yn disgyn oddiar fyrddau eu harglwyddi. Ac efe a ddywedodd wrthi, Ha wraig, mawr

yw dy ffydd; bydded i ti fel yr ewyllysiaist." Felly y byddai ffydd yr hen gredinwyr yn gweithredu mewn gobaith ac yn erbyn gobaith: yn erbyn gobaith o'u rhan eu hunain, ond mewn gobaith yn wyneb addewid Duw.

"Byw wyf fi," meddai y Cyfryngwr, wedi cyflawni fy holl waith; "byw wyf fi," wedi maeddu fy holl elynion; byw wedi ateb yr holl ofynion; byw wedi clirio y rhwystrau, ac agor y ffordd i orphen y gwaith sydd eto i'w gyflawni. "Am hyny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy."

"A byw fyddwch chwithau hefyd." Y mae ei fywyd ef yn fywyd a all gyfranu bywyd i eraill, ac yn fywyd a ddichon gynnal bywyd. Bywyd un fu farw fel Machnïydd, ac sydd yn awr yn eiriol. A thra y bydd Iesu byw, byw fyddwch chwithau hefyd. Yn nghanol y tymhestloedd a'r tònau; yn yr anialwch, er mor lawn ydyw o rwydau a maglau; ac er holl lid uffern, "byw fyddwch chwithau hefyd." Diolchwn am fod gobaith i ni gael byw er holl ddrygau y byd, ac er ein holl wendidau a'n llygredigaethau. Ac

"Am fod fy Iesu 'n fyw,
  Byw hefyd fydd ei saint," &c.

# PREGETH XVII.

## Y GWAS YN RHODDI BODDLONRWYDD I'W DAD.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN JONES, TREMADOG.*

*Yn Nghymdeithasfa y Bala, Mehefin 12, 1822.*

ESAIAH xlii. 1: "Wele fy ngwas, yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal; fy etholedig, i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn; rhoddais fy Ysbryd arno; efe a ddwg allan farn i'r cenedloedd."

YN niwedd y bennod o'r blaen y mae yr Arglwydd trwy'r prophwyd yn rhoddi dirmyg ar eilunod, ac yn dyweyd mai gwagedd ydynt oll. Rhoddodd Duw ddirmyg tragywyddol ar eilunod gweigion dynion; a daw pawb i amgylchiad y gwelant mai gwagedd ydynt oll. Gyda bod y dirmyg hwn yn cael ei roddi ar yr eilunod, dyma y testun yn dyfod i mewn: "Wele fy ngwas, yr hwn yr ydwyt yn ei gynnal." Gyda bod yr Arglwydd wedi taflu gwarth a dirmyg ar yr eilunod, y mae geiriau y testun yn dangos Gwrthddrych gwell i ddynion droi ato oddiwrth y fath wagedd. Y mae y gair blaenaf yn y testun yn galw sylw at yr hyn sydd yn

* Dechreuodd awdwr y bregeth hon, sef y Parch. JOHN JONES, Tremadog, ar ei waith yn 1803, a neillduwyd ef i'r holl waith yn 1814. Bu farw yn Ionawr 1857, yn 81 mlwydd oed. Dyn bychan ydoedd, cryno, *sharp*, ac yn llawn bywyd, â llais peraidd ganddo, ac yn dra gofalus am yr athrawiaeth uniongred Galfinaidd a Methodistaidd. Clywsom ef yn pregethu lawer iawn o weithiau, a byddai ei ddull dengar yn tynu sylw pob oedran. Teithiodd lawer yn ei oes i Gymanfäoedd a Chyfarfodydd Misol, yn enwedig yn ei sir ei hun. Gwasanaethodd ei dymmor yn ffyddlawn, a chredwn fod y bregeth hon yn engraifft gywir o hono fel pregethwr, ac y siomir rhai yn yr ochr oreu.

canlyn: "Wele." Pa beth bynag y gwaeddo neb arnom i graffu arno, pan elo Duw i waeddi, "Wele," y mae ganddo rywbeth i ni weled ag y tâl i ni droi oddiwrth bob peth arall i edrych arno. "Wele fy ngwas, yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal; fy étholedig, i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn." Y mae yn sicr mai y Messïah mawr sydd yn cael ei olygu wrth y geiriau. Swm a sylwedd ein testun, neu y gwirionedd yma yw, Cyfryngwr y Testament newydd.

Galwaf eich ystyriaethau at dri mater oddiwrth y testun:—

I. Yr enw a roddir gan Dduw y gwirionedd ar y Messiah: "Fy ngwas, fy etholedig."

II. Teimlad ac ymddygiad y Tad tuag ato fel y cyfryw: "I'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn;" y boddlonrwydd helaethaf a mwyaf,—"i'r hwn y mae *fy enaid* yn foddlawn." "Fy ngwas, yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal." Y mae ganddo lafur caled garw, a gwaith pwysig i fyned drwyddo, ond yr ydwyf yn ei gynnal. "Rhoddaf fy Ysbryd arno."

III. Y gwaith a ddywedir yma a wna y Messiah fel gwas etholedig Duw, tan yr ymddygiadau rhyfedd hyn o eiddo Duw tuag ato: "Efe a ddwg allan farn i'r cenedloedd." Nid barn yn ol ystyr gyffredin y gair barn a olygir yma. "Efe a ddwg farn i'r cenedloedd;" neu efe a draetha farn i'r cenedloedd; hyny yw, efe a gyhoedda yr efengyl i'r cenedloedd. Efe a uniona eu barnau a'u hegwyddorion am yr efengyl, ac am Dduw yn yr efengyl, ac efe a drefna eu bucheddau mewn barn i rodio yn ol meddwl Duw.

I. Yr enw a roddir yma ar y Messiah: "Gwas" ac "etholedig Duw."

1. Etholedig Duw. Un o ffyrdd yr Ysgrythyrau sanctaidd i ddangos rhagoroldeb ardderchog y Messïah ydyw ei nodweddu fel etholedig Duw. Y mae yn etholedig Duw fel y mae yn Fab Duw: yn etholedig Duw o ran ei ddynol-

iaeth. Y mae yn etholedig Duw fel y mae yn Emmanuel, y Duw gyda ni, y Duw-ddyn. Efe a etholwyd ac a enwyd, ac a alwyd i waith mawr yr iachawdwriaeth, yn ol yr ymadrodd hwnw, "Ti yw fy Mab, myfi heddyw a'th genedlais di." Nid oedd eisieu amlygu i'r Mab ei dragywyddol fabolaeth. Yr oedd yn gydnabyddus â hyny er tragywyddoldeb; ond rhyw etholiad, neu alwad, neu neillduad i'w swyddau cyfryngol sydd i ni ddeall wrth yr ymadrodd, "Ti yw fy Mab." Fel y mae y Messïah yn Dduw, y mae y fath o ran ei Berson a'i fawredd pur fel yr oedd yn teilyngu y fath etholiad. Y mae teilyngdod yr etholiad yn ei Berson, gan ei fod yn Fab Duw, y tragywyddol Dduw. Ond fel y mae yn ddyn, o ran ei ddynoliaeth, nid oedd neb yn yr holl greadigaeth i gyd yn teilyngu ei ethol; ond darfu i Dduw o'i benarglwyddiaeth ethol a neillduo, gan basio heibio i'r angylion; a "had Abraham a gymerodd efe." Nid oedd modd ethol Duwdod y Messïah i fwy o urddas a gogoniant nag yr oedd yn berchen arno nac i fwy o ddedwyddwch; ond etholwyd ef i sefyllfa ac i swydd o fod yn Gyfryngwr rhwng Duw a dynion, a bydd rhyw fynegu ar ei ogoniant i dragywyddoldeb. Ond etholwyd y ddynoliaeth i ogoniant a dedwyddwch, ac y mae efe heddyw fel blaenffrwyth ei eglwys yn cael llawnder o ogoniant a dedwyddwch. "Fy etholedig," fel y Duw-ddyn, yn un Crist. Efe a etholwyd yn Ben-cyfammodwr, yn Gyfryngwr, yn Fachnïydd, i brynu ei eiddo a'u llwyr waredu, ac yn ben i'r greadigaeth etholedig.

2. "Fy ngwas." Y mae yr ymadrodd "fy ngwas" yn golygu gwaith. Yr oedd gwaith pwysig i'w gyflawni gan yr etholedig hwn. Yr oedd ganddo ofalon caletach na cherubiaid y nefoedd. Yr oedd cyfiawnder Duw i gael ei foddloni ganddo. Yr oedd y ddeddf ag oeddid wedi ddirmygu i gael ei hanrhydeddu ganddo. Yn wyneb ei enw fel gwas mae'n gweddu i ni graffu ar ddau neu dri o bethau.

(1.) Y mae yn amlwg yn wyneb yr Ysgrythyrau sanctaidd fod cyfammod wedi cymeryd lle rhwng Duw y Tad a Christ yr etholedig am wasanaeth er iachawdwriaeth pechaduriaid. "Canys dywedais, Adeiledir trugaredd yn dragywydd; yn y nefoedd y sicrhei dy wirionedd. Gwnaethum ammod â'm hetholedig, tyngais i'm gwas Dafydd. Yn dragywydd y sicrhâf dy had di, ac o genedlaeth i genedlaeth yr adeiladaf dy orseddfainc di." Cafodd yr ammod ei gwneyd er tragywyddoldeb; ac y mae yn awr wedi cael ei chadarnhâu trwy lw. "Tyngais i'm gwas Dafydd." Cyfammod am waith anghyffredin oedd y cyfammod: "Adeiledir trugaredd yn dragywydd." Yr oedd y deml gyntaf wedi syrthio i lawr, ond dyma adeilad newydd yn cael ei gwneyd yn ei lle, sef "adeiladu trugaredd."

(2.) Gyda golwg ar y cyfammod fu rhwng y Tad a'r etholedig ynghylch trefn yr iachawdwriaeth; daeth y Gwas i lawr i barthau isaf y ddaear i gyflawni ei waith. Fe fu yn hir, am gannoedd o flynyddoedd, yn parotoi at ddyfod: "Wele fi yn dyfod; yn rhol y llyfr yr ysgrifenwyd am danaf;" rhol yr addewidion oedd wedi eu hysgrifenu yn llyfr Duw. "Da genyf wneuthur dy ewyllys di, O fy Nuw; a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." "Wele fi yn dyfod," meddai yr Achubydd, yn ol rhol y llyfr a ysgrifenwyd am danaf; ac yn nghyflawnder yr amser daeth, a chymerodd arno agwedd gwas. "Yr hwn ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw, a'i dibrisiodd ei hun," neu a'i gwaghäodd ei hun o'i ogoniant oedd yn eiddo iddo; "ac a gymerodd agwedd gwas" er cyflawni ei waith. "Efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes; o herwydd paham Duw a'i tra-dyrchafodd yntau, ac a roddes iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw, fel yn enw Iesu y plygai pob glin, o'r nefolion a'r daearolion, a thanddaearolion bethau; ac y cyffesai pob tafod fod Iesu Grist yn Arglwydd er gogoniant Duw Dad."

(3.) Yn ol y cyfammod, ar ol ei ddyfod i'r byd, efe a orphenodd ei waith. Aeth drwy y gorchwyl mawr, a dywedodd, Gorphenwyd.

II. YMDDYGIAD Y TAD TUAG AT Y MESSIAH YN YR ENW A'R CYMERIAD HWN: "I'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn."

1. Meddyliaf fod y geiriau, "I'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn," yn arddangos, y cymmod hollol, a'r boddlonrwydd perffaith, sydd yn Nuw tuag at y Messïah. Dyma fy anwylyd, i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn. Amlwg yw oddiwrth hyn, mai gweithred ardderchog a ddadguddiwyd yn yr Ysgrythyrau sanctaidd ydyw y cariad a'r cymmod sydd yn y Duwdod at Berson y Mab, Iesu Grist. Fy anwylyd, anwyl Fab Duw, yr hwn oedd yn mynwes y Tad er tragywyddoldeb, ac yn hyfrydwch iddo beunydd, yn ymlawenhâu ger ei fron ef bob amser, ac yn llawenychu yn nghyfanneddle ei ddaear ef; a'i hyfrydwch gyda meibion dynion. Ac nid rhyfedd i'r Tad gyhoeddi am ei gyfryngdod, "Fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd."

2. "Fy ngwas, yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal." Yr oedd ganddo waith i fyned drwyddo nad oedd yn bosibl iddo ei gyflawni yn ei ddynoliaeth heb gael ei gynnal. 1. Y dyoddefiadau mawrion yr oedd i fyned drwyddynt. 2. Y gelynion creulawn llïosog yr oedd i'w cyfarfod. 3. Y digalondid a'r rhwystrau mawrion fyddent o hyd ar ei ffordd wrth fyned â'r gwaith ymlaen: "Fy ngwas, yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal." Y mae y cynnal fu ar y Messïah yn ernes y cynnelir ei holl ganlynwyr. Y mae y Pen wedi myned drwy yr holl dywydd a'r tònau; ac y mae hyny yn brawf y cynnelir yr holl aelodau rhag suddo a boddi. Cânt eu cynnal nes cyrhaedd i ben eu gyrfa.

(1.) Y dyoddefiadau dyfnion yr aeth y Gwas etholedig yma drwyddynt. Yr oedd raid ei gynnal danynt, onidê i lawr yr aethai yn y diwedd. Ni bu neb erioed mewn

dyoddefiadau o'r fath a'r rhai y bu yr Iesu ynddynt. Yr oeddynt yn drymach a dyfnach dyoddefiadau nag a brofodd yr un creadur, nac a brofa byth. Yr oeddynt mor boeth nes yr oedd yn gorfod gwaeddi, "Y mae fy nghalon yn toddi ynof." Yr oedd y nefoedd wedi gorchymyn tynu pob peth oddirhwng oen y Pasc a'r tân; yr oedd raid ei rostio wrth dân; felly fe dynwyd pob peth ag oedd rhwng ein Meichiau ni a'r tân pan oedd yn dyoddef ar y groes; ond eto yr oedd iddo gynnalydd yn nyfnder ei wasgfeuon.

(2.) Y gelynion llïosog a chreulawn yr oedd y Gwas etholedig hwn i'w cyfarfod. Bernir mai rhyw ychydig flynyddau yn ol y gwelwyd y byddinoedd mwyaf fu erioed ar y maes; ond nid oeddynt ond megys dim wrth y cynghreirwyr fu yn ymosod ar y Gwaredwr ar y groes. Yr oeddynt y cyfan oll wedi ymgyfarfod yno, ac yn arfer eu holl ddichellion. Dyma y frwydr fawr oedd wedi cael ei chyhoeddi yr amser cyntaf y rhoddwyd yr addewid am Hâd y wraig. Yr oedd y gelynion wedi bod yn cydfyddino ac yn trefnu eu harfau gyda'r egnïadau a'r dichellion mwyaf; a dacw yr Iesu yn gorfod eu gwynebu ar y maes; ac yr oedd ei fyddin ef i gyd oll wedi cilio yn ol. O'r bobl nid oedd neb gydag ef. Gorfu iddo ymladd ei hunan; ond safodd yn ddiymmod; ac yn nechreu yr ymladdfa rhoddodd ei sawdl ar ben y ddraig gan ei ysigo am byth. "Efe a ŷf o'r afon ar y ffordd, am hyny y dyrcha efe ei ben." Beth fu ar y groes pan yr oedd pawb yn ceisio rhoddi ei ben i lawr? "efe a yfodd o'r afon ar y ffordd," o afon cysuron y Duwdod; a chafodd felly ei gynnal; ac am hyny cododd ei ben. Gwas etholedig wedi gorchfygu ei elynion, ac wedi codi ei ben, sydd yn cael ei gyhoeddi yma heddyw.

(3.) Yr oedd rhwystrau ar ffordd gwaith y Gwas etholedig hwn ag oeddynt yn achos o ddigalondid mawr, ac felly yr oedd yn ofynol iddo gael ei "gynnal" yn eu gwyneb. "Minnau a ddywedais, Yn ofer y llafuriais, yn ofer ac

am ddim y treuliais fy nerth." Dyma lais digalondid mawr. "Er hyny y mae fy marn gyda'r Arglwydd, a'm gwaith gyda'm Duw." Dyna y Gwas yn nghanol ei orchwylion blin, ac yn wyneb yr holl ddigalondid i gyd yn codi ei ben ac yn edrych i fyny. "Ac yn awr, medd yr Arglwydd, yr hwn a'm lluniodd o'r groth yn was iddo i ddychwelyd Jacob ato; er nad ymgasglodd Israel, eto gogoneddus fyddaf yn ngolwg yr Arglwydd, a'm Duw fydd fy nerth. Ac efe a ddywedodd, Gwael yw dy fod yn was i mi i gyfodi llwythau Jacob, ac i adferyd rhai cadwedig Israel, mi a'th roddaf hefyd yn oleuni i'r cenedloedd, fel y byddech yn iachawdwriaeth i mi hyd eithaf y ddaear."

III. "RHODDAIS FY YSBRYD ARNO." Nid oedd y byd ddim yn wag o Ysbryd Duw cyn dyfodiad y Messïah yn nghyflawnder yr amser. Ysbryd Duw oedd yn rheoli olwynion ei drugaredd yn nhrefniadau ei ragluniaeth, ac yn eu hyfforddi ac yn eu hwyluso pa fodd i droi; ac efe oedd yn codi ac yn denu pawb at bob gwaith neillduol mewn gwlad ac eglwys, cyn dyfodiad cyflawnder yr amser. Ond nid oedd ond megys defnynau mân y pryd hyny o'u cymharu â'r moroedd a ddaeth ar ol hyny. Ni chafodd ei dywallt erioed fel ar y Messïah. "Rhoddaf fy Ysbryd arno."

1. Heb fesur, mewn helaethrwydd annherfynol. Ar y Gwas etholedig hwn y rhoddwyd yr Ysbryd heb fesur, yn annherfynol.

2. Heblaw ei fod wedi cael ei roddi arno gyda helaethrwydd annherfynol, y mae hefyd yn "aros" arno. Y mae yn aros arno heddyw. "Ysbryd yr Arglwydd a orphwys arno ef." Efe a fu yn y babell yn yr anialwch, a bu wedi hyny yn y deml, ond fe ddarfu i'r addolwyr ei dristâu, ac fe symudodd at riniog y tŷ, ac i'r ddinas, ac aeth i fyny i'r nefoedd, gan roddi ffarwel i'r ddaear; ond dyma le iddo orphwys, a gorphwys nad ä oddiarno byth.

IV. Y GWAITH MAWR A WNA Y GWAS ETHOLEDIG HWN DAN WENAU CYNNALIAETH EI DAD: "Efe a ddwg allan farn i'r cenedloedd." Ni buasai yn rhyfedd pe buasai gronyn o'r ymgeledd yn cael ei roddi i'r Iuddewon; oblegid yr oeddynt hwy megys gardd yr Arglwydd er ys llawer o oesoedd; ond yr achos o syndod yw iddo fyned i goedwig wyllt y Cenedloedd; yr hen Genedloedd eilunaddolgar, y rhai oeddynt yn gorwedd mewn pob gwarth a gwrthryfel, mewn barn a gair, a buchedd ac ymarweddiad. Ond dacw Etholedig Duw, a'r Ysbryd yn gorphwys arno heb fesur, yn myned atynt, ac "efe a ddwg allan farn i'r Cenedloedd." Bu yr ynys hon mewn dyfnderoedd o goelgrefydd ac eilunaddoliaeth yn amser y Derwyddon, ond daeth y Prophwyd mawr â barn well iddynt. Y mae yn eglur mai galwad a dychweliad y Cenedloedd sydd yn cael ei olygu yn y rhan hon o'r testun. Hen addewid fore ydyw yr un am alwad y Cenedloedd. Y mae mor fore a dyddiau Noah, os nad cyn hyny. Rhagwelwyd yno y byddai rhyw helaethu ar derfynau y Cenedloedd: "Bendigedig fyddo Sem, a Chanaan fydd yn was iddo. Duw a helaetha ar Japheth." Gwreiddyn yr Iuddewon oedd Sem; "a Japheth a breswylia yn mhebyll Sem." Y mae yn gul arno yn awr, ond helaethaf arno. Y mae Sem yn cael preswylio yn nghanol fy nghysegr, ond mi a helaethaf ar Japheth, ac fe gâ ef breswylio yn mhebyll Sem. Nid oedd hil Japheth gynt yn cael dyfod ond i'r cynteddoedd nesaf allan, ond yn awr cânt ddyfod i bebyll Sem. Yr oedd rhyw fûr rhyngddynt, ond daeth yr Etholedig a thrwy golli ei waed ar Galfaria dattododd ganolfur y gwahaniaeth; ac yn awr mae y Cenedloedd yn cael dyfod i bebyll Sem, ac y maent oll, Iuddewon a Chenedloedd, yn un gorlan dan yr un Bugail, i wrando ar ei lais, ac i fyned yn ei ol.

# PREGETH XVIII.

## Y WYNTYLL A'R GWENITH.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM JONES, NANTGLYN, YN 1819.*

MATTHEW iii. 12: "Yr hwn y mae ei wyntyll yn ei law, ac efe a lwyr-lanhâ ei lawr dyrnu, ac a gasgl ei wenith i'w ysgubor; eithr yr us a lysg efe â thân anniffoddadwy."

Y MAE y geiriau hyn yn ddiweddglo pregeth y gwas hwnw i Grist, sef Ioan Fedyddiwr, yr hwn oedd yn pregethu y pryd hwnw tua chyffiniau yr Iorddonen, yn

* Yr oedd y Parch. WILLIAM JONES, Nantglyn, yn ŵr hynod yn ei ddydd. Yr oedd person hardd ganddo, llawn o synwyr cyffredin, ac arabedd yn ystôr, ac yn meddu un o'r lleisiau mwyneiddiaf a darawodd ar glust a theimlad dyn erioed. Yr oedd yn dra phoblogaidd, a byddai Amenau llïosog yn dyfod allan, ac yntau yn peri i'w wrandäwyr eu cadw am fod y cerbyd wedi cyrhaedd pen y banc. Cof genym ei glywed ar foreu dydd Nadolig, tua phump o'r gloch, wedi cael cynnulleidfa fawr ynghyd. Ei destun ydoedd, "Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, &c." "Ganwyd i chwi: dyma Geidwad i bawb; y mae ef fel yr haul yn goleuo pob man ar y ddaear. Ein haul ni, meddai pobl China; ein haul ni meddwn ninnau yn Nghymru; ein Ceidwad ni meddai trigolion Affrca; ein Ceidwad ninnau meddai yr hen Gymry tlodion. Bendigedig a fyddo ei enw byth!" Dywedai hyny yn aml pan mewn hwyl. Cofio yr ydym yn dda am un o Beddgelert oedd wedi derbyn tân y diwygiad i'w galon, yr hwn y galwai Mr. Jones ef yn "gi codi," am mai efe fyddai yn dechreu gwaeddi yn wastad dan ei weinidogaeth effro. Y mae y bregeth hon yn ddarlun byw o'i ddull gwresog a chryno o bregethu. Cyfarfu â llawer o brofedigaethau yn ei fywyd, ond bu yn offeryn i droi llawer i gyfiawnder. Ordeiniwyd ef yn y flwyddyn 1831, a bu farw yn Rhuddlan yn 1844, yn gyflawn o ddyddiau.

niffeithwch Judea. Y mae ei bregeth yn un gynnwysfawr iawn. Y mae yn hawdd i ni ddeall wrth ddarllen darn o bregeth Ioan, mai pregethwr llym a gonest iawn ydoedd. Un o'r dynion mwyaf enwog a ymddangosodd ar faes Crist ydoedd. Y mae tystiolaeth Crist am dano yn profi hyny yn bur eglur. Y mae yn dywedyd, "na chododd ymysg plant gwragedd neb cyffelyb i Ioan Fedyddiwr." Bu farw hefyd fel merthyr. Seliodd y gwirionedd oedd yn bregethu â'i waed. O achos ei fod yn onest y cymerwyd ei fywyd oddiarno. Am ddywedyd yn erbyn pechod y cafodd ei ferthyru. Nid yn unig dywedai yn erbyn pechodau y bobl gyffredin, ond yn erbyn pechodau y bobl fawrion hefyd; ac efe a'u hargyhoeddai hwynt yn llym yn eu gwynebau. Nid yn unig ni fedrai ddyoddef pechod mewn cardotyn, ond ni fedrai ddyoddef pechod mewn brenin. Argyhoeddai frenin yn ei wyneb am ei bechod; ac o herwydd iddo argyhoeddi brenin o'i bechod, dyna fu yn achlysur i fyned â'i fywyd ymaith. Argyhoeddodd Herod y brenin. Yr oedd Herod wedi dyfod i wrando ar Ioan, a gwnai lawer o bethau erddo, ond ni wnai ymadael â'i bechod. Yr oedd wedi dyfod ymlaen yn lled dda, hyd yn un peth, ond yr oedd yr un peth hwnw yn ddigon i'w ddamnio. Y mae un twll mewn llong mor sicr o'i suddo a phe byddai mil o dyllau ynddi. Felly y mae un pechod mor sicr o ddamnio enaid ag a fyddai mil o bechodau. Pan argyhoeddodd Ioan Herod mai nid cyfreithlawn oedd iddo gael gwraig Phylip ei frawd, bod cyfraith y wlad a chyfraith Duw yn ei erbyn, digiodd Herod; ac nid äi yn ddysgybl i Ioan mwyach, oblegid ei awydd i lynu wrth ei bechod. Y mae mor hawdd cael croen dynion oddiam danynt a chael ganddynt ymadael â'u pechod. Y mae yn well ganddynt ymadael â phob peth nag ymadael â phechod. Ond gwell fyddai penderfynu ymadael â phechod, oblegid os na wneir, rhaid myned i uffern. Pan y daeth dydd genedigaeth Herod gwnaeth

wledd fawr, a daeth merch Herodias i mewn, a hi a ddawnsiodd o flaen y brenin, a boddlonodd y brenin i'r fath raddau nes y cyfododd i fyny ag a ddywedodd gyda llw y cai pa beth bynag a ofynai hyd yn hanner ei deyrnas. Ar hyny hi a redodd at ei mam i ofyn pa beth a ofynai. Yr oedd yn well gan hono gael dial ei llid ar Ioan na dim arall. Nid oedd dim ond cael pen Ioan Fedyddiwr mewn dysgl a'i boddonai. Peth rhyfedd iawn ydyw cenfigen. Byddai cenfigen fyw ar le y byddai pob creadur arall farw. Ond dyna fydd ei diwedd, lladd ei pherchenog. Yr oedd Ioan yn annog ei wrandäwyr i edifarhâu: "Edifarhewch, canys nesaodd teyrnas nefoedd:" hyny yw, y mae teyrnas y Messïah yn nesâu; y mae yr hen oruchwyliaeth yn myned heibio, a goruchwyliaeth y Messïah wedi dyfod, am hyny newidiwch eich meddwl am Dduw ac am danoch eich hunain, am y gyfraith ac am bechod; ac am y drefn fawr i achub i fywyd tragywyddol. Yr oedd gweinidogaeth Ioan yn daranllyd iawn; yr oedd yn cyfarch rhai o honynt yn y geiriau llymion, "O seirph, hiliogaeth gwiberod, pwy a'ch rhagrybuddiodd chwi i ffoi rhag y llid a fydd?" neu yn ol cyfieithiad y Dr. Morgan, "Pwy a'ch dysgodd chwi i ffoi rhag y llid a fydd?" "Dygwch gan hyny ffrwythau addas i edifeirwch." Dwyn ffrwythau addas i edifeirwch ydyw y rheol addas i dderbyn rhai i eglwys Crist. Ni ddylid gwrthod neb os bydd y ffrwythau addas hyny i'w gweled arno; ac heb hyny nid oes genym sail i oddef neb yn yr eglwys. "Ac na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, Y mae genym ni Abraham yn dad i ni." Yr oeddynt yn dwyn cysylltiad gweledig âg Abraham, ond nid oeddynt yn wirioneddol: onidê pe hâd Abraham fyddech llwybrau Abraham a gerddech. Nid ydych blant i Abraham, onidê rhodiech lwybrau ffydd Abraham. "Yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y dichon Duw, ïe o'r meini hyn, gyfodi plant i Abraham." Y mae yn cyfeirio yma at un

o ddau beth; naill at y ceryg oeddid wedi godi o'r Iorddonen, neu at rai o'r Cenedloedd oeddynt yn ei wrando. "Yn awr y mae y fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y prenau." Wrth hyny yr oedd yn golygu y farn oedd i ddyfod ar yr Iuddewon. Geiriau cyffelybiaethol ydynt. Pan fydd y fwyall ar wreiddyn pren, pren i ddyfod i lawr ydyw. Felly fe osodwyd y fwyall ar wreiddyn y genedl hono, ac fe'i torwyd i lawr o fod yn genedl. Yn awr y mae y fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y prenau. Gallwn ni gymeryd addysg oddiwrth y geiriau hyn. Y mae gan Dduw lawer o oruchwyliaethau ar ddynion. Y mae bwyall marw wedi cael ei gosod ar wreiddyn y pren. Dyna a ddywedir am danynt oll yn y diwedd, "Efe a fu farw." "Yr hwn y mae ei wyntyll yn ei law, ac efe a lwyr lanhâ ei lawr dyrnu." Y mae y geiriau yn cyfeirio at ddull yr Iuddewon yn trin ffrwyth eu llafur. Byddent yn ei ddyrnu mewn lle agored ar y maes; ac wedi neillduo y gronyn gwenith, byddent yn ei gasglu i'r ysgubor, a byddent yn llosgi yr us. Lle cymysglyd yw llawr dyrnu. Nid yn unig y mae yno wenith, ond y mae yno us a gwellt ac ysgall a phethau eraill. Nid gwenith i gyd sydd yno, ac nid ysgall nac us i gyd. Felly am eglwys Dduw, lled gymysglyd ydyw yma. Eglwys filwriaethus Crist yn y byd hwn a ddarlunir yma dan y gymhariaeth o lawr dyrnu. Nid duwiolion ac nid rhagrithwyr i gyd ydyw yr eglwys. Dyna fel y dywed y byd yn fynych, "Rhagrithwyr sydd yno i gyd:" nage, y mae yno lawer o dduwiolion, ac y mae yno ragrithwyr hefyd. Yr oedd cymysgedd yn eglwys Dduw ymhob oes a than bob goruchwyliaeth. Yn nyddiau Adda, yr oedd Cain y pryd hyny. Y mae rhai yn yr eglwys ymhob oes o'r byd, a than bob goruchwyliaeth. Nid oedd ond ychydig yn yr arch yn nyddiau Noah; ond fel rhyw Cain, yr oedd Ham yno. Ystyriwn, paham y mae yr eglwys yn cael ei chyffelybu i lawr dyrnu?

Yn un peth oblegid y DYRNU sydd arni. Dyna sydd yn rhyfeddod fawr fod yr eglwys yn fyw ar ol yr holl ddyrnu sydd wedi bod arni. Nid rhyfedd oedd i Moses ddyweyd, "Mi a dröaf ac a edrychaf ar y weledigaeth fawr hon." Yr oedd yn gweled perth yn llosgi yn dân, ac eto heb ei difa: hyny yw, cenedl Israel yn yr Aipht yn eu caethiwed trwm, a gorchymyn wedi cael ei roddi i ladd y plant gwrywaidd, ac eto y genedl yn llïosogi. Y berth yn llosgi ond heb gael ei difa. Ond mwy rhyfedd o lawer yw bod Sïon yn fyw dan yr holl ddyrnu sydd arni, fel perth yn llosgi, ond heb ei difa. Er cymaint o guro ac o ddyrnu sydd wedi bod arni, y mae eto heb ei difa. Y mae llawer o guro arni,—1. Gan y cnawd a'i wyniau a'i chwantau; 2. Gan y byd; 3. Gan y diafol; ond er cymaint o guro ac o ddyrnu sydd wedi bod arni, y mae eto heb ei difa.

Beth yw'r WYNTYLL.

1. Gwyntyll yr athrawiaeth. Dyma le i ti brofi dy hun: A wyt ti yn caru yr athrawiaeth yn gwbl, i gyd oll? y bygythion yn gystal a'r addewidion; y gorchymynion i fyw bywyd sanctaidd, yn gystal a chael bywyd drwy gredu yn Nghrist?

2. Gwyntyll y ddysgyblaeth. Rhaid cadw y tŷ, neu yr eglwys, yn lân cyn y gall Iesu Grist roddi gwedd ei wyneb yno.

3. Gwyntyll profedigaethau. Dyna y dyben o'r holl driniaethau a'r nithio sydd ar y gwenith, sef myned rhwng y gwenith a'r us, a chael y gwenith yn lân i'w gasglu i'r ysgubor; a dyna yr amcan o'r holl driniaethau sydd ar y dyn duwiol, myned rhyngddo a'r us; "a hyny fydd y ffrwyth, tynu ymaith y pechod,"—chwalu yr us. Bendigedig fyddo ei enw byth!

4. Gwyntyll y farn. Dyna y wyntyll olaf ar y duwiol; a deil y wyntyll yno, oblegid "efe a gasgl y gwenith i'w ysgubor."

Y mae y duwiolion yma yn cael eu cyffelybu i WENITH.

1. Peth go drwm yw'r gwenith; deil y wyntyll; felly y dyn duwiol.

2. Peth gwerthfawr yw y gwenith, felly rhai gwerthfawr yw duwiolion; wedi eu hethol cyn seiliad y byd, ac wedi eu galw â galwedigaeth sanctaidd, effeithiol, a'u mabwysiadu yn deulu Duw, ac wedi eu prynu â gwerthfawr waed Crist. Rhai gwerthfawr iawn ydynt. O'r tu arall, (1.) Peth ysgafn iawn ydyw yr us, felly hefyd yr annuwiol. (2.) Peth diwerth iawn yw yr us, felly yr annuwiol.

Gwerthfawrogwn y fraint o gael bod ar y llawr dyrnu o flaen y wyntyll. Yna bydded y triniaethau fel y byddont, cawn nerth i'w dal, a gweithiant er ein lles, er ein cael yn gymhwys i gael ein casglu i'r nefoedd.

"Bod yn fyw sy fawr ryfeddod,
Mewn ffwrneisiau sy mor boeth;
Ond rhyfeddach, wedi 'mhrofi,
D'od o'r cystudd fel aur coeth:
Amser cànu, diwrnod nithio,
Eto 'n dawel, heb ddim braw,
Y Gŵr sydd imi yn ymguddfa
Sydd â'r wyntyll yn ei law."

# PREGETH XIX.

## GWLEDD PRIODAS MAB Y BRENIN.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. EBENEZER RICHARD.*

*Mewn Cymdeithasfa yn y Bala, yn 1825.*

MATTHEW xxii. 4: "Trachefn, efe a anfonodd weision eraill, gan ddywedyd, Dywedwch wrth y rhai a wahoddwyd, Wele, parotoais fy nghiniaw; fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd, a phob peth sydd barod; deuwch i'r briodas."

YR ydym wedi darllen a chlywed yn aml mai un hwyrfrydig i ddigofaint yw Duw; ei fod yn oedi dial; nad hoff ganddo ddial; a fod yn anhawdd ganddo daro pechaduriaid er ei hir annog ganddynt i'w taro; ac y mae hyn yn wirionedd a brofir yn eglur oddiwrth y testun a ddarllenwyd. Y mae mawredd ymaros ac amynedd a dyoddefgarwch

* Gan ein bod wedi rhoddi ychydig linellau am y gŵr enwog hwn ynglŷn â'i bregeth yn yr ail argraffiad o'r gyfrol gyntaf o'r *Gofadail*, gadawn i'r tair pregeth hyn o'i eiddo lefaru drosto, ac y maent yn ddigon. Ni buom yn gwrando ar neb o enwogion y pulpud yn meddu ar y fath allu i dynu dagrau o lygaid ei wrandäwyr; a pha ryfedd? fel y dywed un, "Yr oedd ei feddwl wedi ei gyflenwi â gwirioneddau yr efengyl, a'i galon wedi ei thrwytho gan ei dylanwad hi." Hir gofir gan lawer ei bregeth anghyffredin ar y cae yn Nghaernarfon mewn Cymanfa, am 10 y boreu o flaen Mr. Elias. Ei destyn ydoedd, "Wele fi yn sylfaenu maen yn Sïon," &c. Y tro cyntaf i ni gael y fraint o'i glywed ydoedd hwn, a chlywsom ef wrth ddyfod yn ol o Fôn, yr un daith, ar nos Sadwrn yn Morïah. Ei destun ydoedd, "Bydd llawenydd yn ngwydd angylion Duw am un pechadur a edifarhäo." Yr oedd ef ei hun dan yr eneiniad a'i wrandäwyr hefyd. "Gwnawn yma dair pabell" oedd y llais o'n mewn.

Duw yn cael ei egluro yn neillduol yn yr adnod a ddarllenwyd. Y mae y geiriau yn rhan o'r ddammeg a elwir yn gyffredin dammeg priodas mab y Brenin. Ar ol i'r Brenin benderfynu gwneuthur priodas i'w Fab, y mae yn anfon i alw y rhai a wahoddasid i'r briodas. A chan na wnaethant ddyfod ar yr alwad gyntaf, y mae drachefn yn anfon gweision eraill, i ddywedyd wrth y rhai a wahoddasid, "Wele, parotoais fy nghiniaw, fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd, a phob peth sydd barod, deuwch i'r briodas."

Y brenin a wnaeth y briodas yw Brenin y nefoedd. Mab y Brenin ydyw ei dragywyddol Fab, ei unig-anedig Fab, ei anwyl Fab. Wrth wneuthur priodas i'w Fab y golygir gwneuthur cyfammod priodasol, a gwledd ar y fath achlysur. Y Brenin a wnaeth briodas i'w Fab, hyny yw a wnaeth gyfammod priodas, a wnaeth hefyd briodasol wledd iddo; ac a anfonodd ei weision i alw y rhai a wahoddasid; sef, efe a anfonodd Ioan Fedyddiwr, a'r deg a thriugain, a'r apostolion ar y cyntaf at yr Iuddewon, y rhai oeddynt o'r blaen wedi cael gwahoddiad trwy y prophwydi. Ond ni fynent hwy ddyfod. Ond i ddangos tiriondeb, amynedd, a gras Duw, y mae efe drachefn yn anfon gweision eraill atynt. Y mae gan Dduw lawer "trachefn" cyn rhoddi dynion i fyny. Y mae ganddo lawer trachefn cyn rhoddi cenedl i fyny, a llawer trachefn cyn rhoddi eglwys i fyny, a llawer trachefn cyn rhoddi teulu i fyny, a llawer trachefn cyn rhoddi person i fyny. Felly bu ganddo lawer trachefn cyn rhoddi y genedl Iuddewig i fyny. Anhawdd iawn ganddo daro a dial. 'Arglwydd, gan eu bod hwy yn gwrthod dyfod, gad iddynt.' Na, "trachefn efe a anfonodd weision eraill atynt." Yr un gair a ddefnyddir ag o'r blaen, yr un genadwri, ac i'r un rhai yr anfonir y genadwri; ond y mae y gweision wedi cael eu newid. Yr un yw'r Brenin sydd yn gwahodd, a'r un achlysur yr anfonir o'i blegid, sef priodas ei Fab; yr un yw'r gwrthddrychau; ond y mae

y gweision wedi cael eu newid. Felly eto, yr un yw'r Gwahoddwr sy'n anfọn, a'r un yw y wledd, ac at bechaduriaid hunan-ddinystriol yr anfonir y gwahoddiad, ond y mae'r gweision wedi cael eu newid. Y rhai fu nid ydynt, a'r sydd ni fyddant ymhen ychydig iawn; ond y mae y genadwri yr un o hyd. Fe allai fod y gweision cyntaf yn cyfeirio at y deg a thriugain a'u cydweithwyr, a'r gweision eraill yn cyfeirio at Barnabas a Paul a'u cyd-efengylwyr.

Yr wyf yn bwriadu sylwi ar ddau beth oddiwrth y geiriau. Er mai yr Iuddewon yw gwrthddrychau neillduol y cyfeiriad yn ngheiriau y testun, yn ystyr berthynasol o'u llefariad ar y cyntaf, eto y mae yma bethau cymhwysiadol at dorf o'r Cenedloedd fel sydd yma yn gwrando heddyw.

I. Y GENADWRI A RODDWYD I'R GWEISION ERAILL: "Deuwch i'r briodas."

II. Y RHESYMAU A RHODDWYD YN EU GENEUAU I GYMHELL Y GENADWRI AT YSTYRIAETH Y RHAI YR ANFONIR HWY ATYNT: "Dywedwch wrth y rhai a wahoddasid." Dywedwch yn eglur; ymresymwch â hwy, eglurwch iddynt, byddwch daer wrthynt, defnyddiwch bob dull o ddeisyfiad, dywedwch bob peth ag a ellwch feddwl fyddo o duedd at lwyddo. Wel, beth ddywedwn ni? Dywedwch yn gyntaf, "Wele parotoais fy nghiniaw." Fe allai y llwydda hyny gyda rhai. Dywedwch hefyd, "Fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd." Fe allai y llwydda hyny gyda rhai. A dywedwch hefyd, "Pob peth sydd barod."

I. Y GENADWRI: "Deuwch i'r briodas." Fe allai y dywed rhyw ŵr fel hyn, Y mae llawer yma yn y dyddiau diweddaf wedi dyfod, a byddai gystal i chwi bellach bregethu i'r saint, a gadael pechaduriaid yn llonydd. O na, y mae y nifer amlaf eto ar ol; ac fe allai, fel yr awgrymodd rhai o'n brodyr, na bu tyrfa erioed mor fawr o rai wedi ufuddhâu ag sydd yma yn y fan yma heddyw; ac er hyny yr wyf yn ofni fod y nifer amlaf ar ol.

1. Deuwch heddyw ar unwaith i gysylltiad priodasol â Mab Duw. Deuwch i undeb priodasol â'r Arglwydd Iesu Grist. Nid i glywed am y briodas, ac nid i weled y briodas, ac nid i gael hanes y briodas, ond deuwch i'r briodas. Y mae pob ymddygiad llai na hyny yn rhy fach ac isel i ateb y genadwri a gwahoddiad y nef. Y mae pob peth tu yma i ddynion ddyfod i undeb anwyl, priodasol, cadwedig â Mab Duw yn rhy fyr ac isel o ateb i'r gwahoddiad. Ni ddylai fod genym un nôd îs yn ein golwg na chael undeb priodasol â Iesu, Mab Duw. "Deuwch i'r briodas;" hyny yw, deuwch i afael â meddiant o undeb sylweddol, priodasol â Mab Duw. Y mae yn anfeidrol rhy fach i chwi, er eich holl wrandaw, a'ch holl gyflawniadau crefyddol, os ydych heb gael eich dwyn i undeb personol, priodasol â Mab Duw. Dyna fel y mae mewn priodas gyda ni,—rhyw un sydd yn derbyn y fodrwy, er fe allai y bydd llawer wedi eu gwahodd yno. Y mae yma dyrfa fawr yn edrych ar y briodas; a gobeithio y bydd llawer yn myned adref yn ddedwydd wedi derbyn y fodrwy. A dyna'r mater sydd genyf yn awr, eich gwahodd; a dymunwn eich gwahodd yn daer i ddyfod i'r briodas. Y mae yn gysur gwerthfawr eich cael o hyd cyrhaedd i glywed y gwahoddiad, ac i weled ac i glywed dull allanol dygiad ymlaen achos Mab Duw yn y byd; ond nid ydyw hyny yn ddigon, deuwch yn nês, "deuwch i'r briodas." Byddwch yn annhraethol dlawd ac annedwydd, er pob breintiau allanol, os heb ddyfod i undeb â'r Arglwydd Iesu, Mab y Brenin. Y mae ef yn barod i'ch croesawu: "deuwch i'r briodas." Y mae trymder yn fy nghalon uwch ben torf y Gymanfa, oblegid y fath nifer sydd yn dyfod i weled y briodas, rhag na bydd y fodrwy ar eu llaw ar ol iddynt fyned adref. Yn awr, mi gyhoeddaf, os gŵyr neb o uchder y nefoedd i ddyfnder eithaf y ddaear, am unrhyw achos cyfreithlawn fel na ddylid cysylltu pechadur â Mab Duw

mewn glân briodas, dygant ymlaen eu tystiolaeth heddyw ar *Green* y Bala. Y mae yn drwm eich gweled, ar ol pob sirioldeb ydych yn ei ddangos tuag at Iesu, yn myned i'r farn wedi y cwbl heb Iesu yn briod. O "deuwch i'r briodas." Yn wir, yn wir, y mae yn rhy fach o ddyben i sefyll uwch ben tyrfa fel hon heb feddwl yn bryderus am eu cael i undeb â Mab Duw; ac y mae yn rhy fach o ddyben i chwithau i adael eich gofalon, a dyfod o'ch cartrefleoedd yma, a gwario eich hamser a'ch harian, a myned adref yn ol heb undeb â Mab Duw. Yr wyf yn ofni yn fy nghalon yr ä llawer adref heb ddyfod i'r briodas. Peth ofnadwy fydd myned dan ddwylaw angeu heb fodrwy y briodas â Mab Duw. Os felly nis gall Iesu ddim dy arddel o flaen mainc y frawdle yn y dydd diweddaf; a thithau heb dderbyn ei wahoddiad, ar ol ei fod wedi bod gyhyd yn gwahodd, ac mor daer yn gwahodd. Sefwch yn ddifrifol uwch ben y mater, a hunanymholwch, a ydych mewn undeb â Mab Duw, ac a oes genych ryw brofion o hyny. Y mae'n bosibl i ni fyned yn o agos, ac eto heb y fodrwy. Nis gwn ddim nad allai dyn chwysu llawer yn Sasiwn y Bala i alw rhai i'r briodas, ac eto heb ddyfod ei hun. Bobl anwyl! y peth mwyaf a blaenaf i ni oll ydyw undeb priodasol â Mab Duw; os cawn hyny bydd pob peth wedi hyny yn dda.

2. Deuwch i wledd y briodas. Deuwch i'r wledd; hyny yw, deuwch i fwynhâu ordinhadau, bendithion, a rhagorfreintiau yr efengyl. Byddant yn sicr o fod yn wledd i'r enaid. Cawsoch yma yn barod dystiolaethau eglur a melus am y darpariadau; deuwch i'w mwynhâu. Yr ydych yn rhy bell draw o lawer, deuwch yn nês. Dyma'r briodas, ac mae'r wledd yn barod. Byddai yn drwm iawn marw heb ddyfod at fwrdd y wledd. Y mae y llo pasgedig wedi ei ladd, a'r gloew-win puredig ar y bwrdd: y mae pob peth yn barod, deuwch i'r wledd. Ië, meddai rhai,

y mae yn dda iawn genym eich clywed yn son am y wledd. Ydyw, ond beth fyddi well heb ei phrofi? Yr ydym yn meddwl ein bod er pan y daethom i'r Gymanfa hon yn arogli yr arlwyadau; nid yw hyny ddim yn ddigon; a dyma fyddai yn drwm, troi oddiwrth y bwrdd heb ymborthi ar y wledd. Deuwch i fwynhâu o'r arlwyadau. Deuwch i'r briodas, i fwynhâu rhagorfreintiau a chyfoeth a doniau a pharotoadau yr efengyl. Deuwch i'w meddiannu yn awr. Er ceisio gosod bendithion cyfoethog yr efengyl o flaen eich meddyliau, yr wyf yn teimlo pryder rhag i chwi fyned adref heb eu mwynhâu. O deuwch i'w profi.

II. Y RHESWM A RODDWYD YN NGENEUAU Y GWEISION, ER CYMHELL Y GWAHODDEDIGION I DDYFOD I'R BRIODAS: "Dywedwch wrth y rhai a wahoddasid." A bendigedig! nid ydyw yn ddim colled i'r Brenin eu bod heb ddyfod, eto y mae yn gwahodd. 'Y maent wedi bod yn anniolchgar a diystyr, gâd hwy ar ol.' Na, medd y Brenin, peidiwch a'u rhoddi i fyny heb ddywedyd y cyfan wrthynt. Dywedwch wrthynt yn gyntaf, "Wele parotoais fy nghiniaw;" dywedwch wedi hyny, "Fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd;" a chofiwch ddywedyd wedi hyny, fod "pob peth yn barod." Peidiwch a gadael dim yn anghof heb ei ddywedyd wrthynt. Ymresymwch â hwy, arferwch eich doniau oll, a'ch rhesymau oll, gyda phob tynerwch a thaerni: treiwch ymhob dull a modd y gellwch eu cael i'r briodas. Boed y nôd mawr hwn o'ch blaen bob amser. Nid effeithio ar y bobl er eu cael i'r odfeuon, nid effeithio arnynt er mwyn effeithio, ond effeithio ar eu calonau er mwyn eu cael i'r wledd. Crybwyllwn rai o'r rhesymau sydd dros hyn.

1. "Wele, parotoais fy nghiniaw." Dengys hyny natur y wledd.

2. "Fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd." Dengys hyny helaethrwydd y wledd.

3. "A phob peth sydd barod." Dyna y parodrwydd a berthyn iddi. Y mae y gweision felly i egluro helaethrwydd y parotoadau, a'r croesaw sydd i'r rhai a wahoddir i ddyfod i gyfranogi o honynt.

1. Natur y wledd: "Wele parotoais fy nghiniaw." Dyna'r enw rydd y Brenin ar ei wledd, ciniaw priodas ei Fab: "parotoais fy nghiniaw." Pryd cyflawn tua hanner dydd ydyw y ciniaw. Felly y mae gwledd yr efengyl ar ryw olygiad i ninnau. Y mae y boreufwyd wedi pasio; ac y mae swper neithior yr Oen eto heb ddyfod; ciniaw ydyw hi yn awr arnom ni. Fe fu yr hen batriarchiaid a'r prophwydi wrth y bwrdd brecwast; a chawsant luniaeth cynnaliol iachus; ond dylem addef ei bod yn brinach arnynt hwy nag arnom ni. Ac y mae'n debyg y bydd rhyw swper mawr yn cael ei barotoi cyn diwedd amser, ac y bydd Iesu, Mab y Brenin, wrth ben y ford; ac fe bery y swper am fil o flynyddoedd; a diau y bydd yn wledd heb ei bath. Ond amser ciniaw ydyw arnom ni yn awr. Y mae yn ganol dydd goleu, ac y mae y wledd yn barod ar y bwrdd. Ciniaw yw hi heddyw. Grym o'r nef i ni ganu cloch y ciniaw! "Wele, parotoais fy nghiniaw." Nid rhyw giniaw cyffredin oedd, ond gwledd, a gwledd ragorach na'r holl wleddoedd y darllenwyd erioed am danynt; y wledd fwyaf y clywyd son erioed am dani. Gwledd fawr felus oedd gwledd Abraham, a gwledd Nabal, a gwledd Solomon, a gwledd Ahasferus, a gwledd Belsassar; ond nid ydynt yn werth eu henwi wrth y wledd yma. Gwledd heb ei bath ydyw. Gwledd priodas ydyw. Y mae dynion yn galw eu gilydd i wledda ar amryw achlysuron, ac weithiau heb yr un achos yn y byd, ddim ond cyfarfod i borthi eu blys; ond y mae achos i'r wledd hon; achos a chanlyniadau pwysfawr iddo. Gwledd priodas; ac nid gwledd priodas rhywun tlawd, ond gwledd priodas Mab y Brenin. Nid rhyw un isel cyffredin sydd yn ceisio gwneyd enw iddo ei hun; ond gwledd priodas Mab y Brenin:

gwledd priodas y Tywysog Mawr. Ac os bydd cyfoeth teyrnas rywbryd yn y golwg, ac os bydd rhwysg byth yn bod, bydd yn sicr o gael ei ddangos ar briodas mab y brenin. Ac nid gwledd priodas mab unrhyw frenin daearol ydyw, ond gwledd priodas Mab y Brenin tragywyddol, y Brenin anfarwol, y Brenin anweledig, Brenin y breninoedd, Mab yr Alpha a'r Omega. Ei fawredd a ddelo i'r golwg yma heddyw! Deuwch i wledd ei briodas. Y mae yn y wledd yma bob cyflawnder o bob amrywiaethau. Gwledd helaeth gyflawn ydyw. Y mae ynddi y cyflawnder mwyaf a'r amledd llawnaf. Yr wyf yn meddwl, medd ambell un, mai o herwydd yr amrywiaeth yr ydych i gymhell. Wel y mae ynddi amrywiaeth at bob anghen. Nid all neb ymesgusodi trwy ddyweyd nad oes digon ar y bwrdd. Dywed un arall, dichon, mai o herwydd diffyg amrywiaethau y collwch, oblegid y mae dynion mor amrywiol yn eu hanghenion; a dichon ar ol gwahodd cymaint, yr ewch i leoedd ag y cyfarfyddwch â llaweroedd heb fod genych ddigon o amrywiaeth ar eu cyfer. Wel, gwrandewch, mi fyddaf fi yn foddlawn i edifaru yn y dydd y bydd miloedd yn edifaru, os na bydd digon ar y bwrdd. Fe welwyd gwahoddedigion wedi cyfarfod, ac yn eistedd o gylch byrddau gwleddoedd mawrion yn y byd yma; ond wedi iddynt ddechreu gwledda a galw am ryw beth dewisol at eu chwaeth, nid oedd y peth hwnw yn y tŷ, nac yn unlle o fewn y cyrhaedd; a byddai blaenor y wledd yn gorfod ymesgusodi; a'r *waiters* yn troi yn ol yn fynych dan wrido, oblegid methu ateb i geisiadau y gwahoddedigion. Ond y mae genyf fi ugeiniau o'm cydwahoddwyr yma heddyw yn fy ngwrando; ac yr wyf yn credu eu bod yr un meddwl a minnau, bod pob cyflawnder o amrywiaethau yn y wledd; a byddwn yn barod i wrido yn y farn os na bydd ar y bwrdd bob peth ag y gelwir am dano gan y rhai fydd yn cyfranogi o'r wledd. Byddant oll wrth eu bodd, uwch ben

eu digon. Galwch, galwch; y mae pob digonedd ar y bwrdd. Galwch, galwch, y mae pob amrywiaeth i'w gael. Galwch, galwch, galwch. Rhaid i ni fod yn daer wrth wahodd.

2. Helaethrwydd y wledd: "Fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd." Gwledd yn ganlynol i laddfa ydyw y wledd hon. Lladdwyd y pasgedigion.

3. Parodrwydd y wledd: "Pob peth sydd barod;" yn gyflawn, yn y cyrhaedd, ac heb ddim ar ol.

Crybwyllaf un neu ddau o gasgliadau:

1. Y mae arnoch chwi oll sydd yma eisieu y wledd, oes, bawb o honoch; ac nid oes ond newynu os byddwch hebddi wedi gwrthod y gwahoddiad.

2. Y mae ar y wledd fawr eich eisieu chwithau! Wrth ddywedyd hyn, nid wyf yn arwyddo yr ä y wledd yn ofer. Os na ddeuwch chwi, fe ddaw myrddiynau dirif i gyfranogi o honi; a byddant wrth eu bodd uwch ben eu digon. Anwyl wrandäwyr, deuwch oll heb oedi i wledd yr efengyl.

"Mae 'r bwrdd yn llawn danteithion,
Dowch ymlaen,
Gan sanctaidd Frenin Sïon,
Dowch ymlaen;
Cawn wledda oll yn ddiddig,
Fry, ar y llo pasgedig,
Ac yfed gwîn puredig,
Dowch ymlaen,
Gwir haeddiant Iesu yn unig,
Dowch ymlaen."

# PREGETH XX.

## ADEILADU SION YN OGONIANT I'W DUW.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. EBENEZER RICHARD.

*Mewn Cymdeithasfa yn Machynlleth, Awst 25, 1820.*

PSALM cii. 16: "Pan adeilado yr Arglwydd Sïon, y gwelir ef yn ei ogoniant."

Y MAE rhyw un wedi rhoddi titl y Salm hon fel hyn: "Gweddi y cystuddiedig pan fyddo mewn blinder yn tywallt ei galon ger bron yr Arglwydd." Y mae yn amlwg oddiwrth yr olygfa sydd o'n blaen yma, fod ei hawdwr yn gweddïo, ac yn gweddïo mewn blinder. Yr oedd mewn blinder neu boen corfforol, ac hefyd mewn gofid tufewnol yn ei enaid, ac hefyd mewn trallodion allanol. Ond er yr holl flinderau hyn, y mae yn tynu cysuron o ffynnon ddihyspydd; ac ymysg pethau eraill, y mae yn ymgysuro yn gryf yn y llwyddiant a'r adfywiad oedd yn debyg i gymeryd lle ar eglwys Dduw. Er ei fod ef ei hun yn boenus gan ofidiau, yn boenus o ran ei gorff, ac o ran ei feddwl, ac o ran ei amgylchiadau allanol; ond er y cwbl o'i drallodion, y mae y gobaith y daw Sïon â'i phen i fyny yn gysur sylweddol iddo. A dyna a'i cynhyrfodd i ddywedyd geiriau ein testun. Y mae yn ymgysuro yn y sicrwydd y bydd i'r Arglwydd adeiladu Sïon; a phan yr adeilado efe Sïon, y gwelir ef yn ei ogoniant. Pan adeilado, pan adnewyddo, pan adfero yr Arglwydd Sïon, pan iachäo friwiau plant Sïon,

pan gyflawna ei amcanion o blaid Sïon, gwelir ef yn ei ogoniant. "Pan adeilado yr Arglwydd Sïon," pan adgyweirio ei phyrth a'i phalasau, "gwelir ef yn ei ogoniant." Efe sydd yn ymgymeryd â'r gwaith o'i hadeiladu. Nid oes neb arall all ei gyflawni; a "phan yr adeilado Sïon, gwelir ef yn ei ogoniant." Daw ei ogoniant yn amlwg iawn i'r golwg.

Wrth Sïon y mae i ddeall eglwys Dduw. Y mae Sïon yn enw sydd yn cael ei roddi ar yr eglwys. Yr eglwys feddylir wrth Sïon. Mynydd oedd Sïon, ac ar fynydd Sïon yr adeiladwyd y deml. Y mae yn amlwg mai yr eglwys sydd yn cael ei golygu wrth yr enw yn adnod ein testun, ac mewn amryw fanau eraill yn yr Hen Destament a'r Newydd. Y mae Paul yn darlunio rhai ag oeddynt wrth ddyfod i'r eglwys, eu bod yn dyfod "i fynydd Sïon, i ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol."

Y mater yr ydym am sylwi arno ydyw hyn:—FOD POB ADNEWYDDIAD, POB ADFYWIAD, POB CYNNYDD AR ACHOS CRIST, YN DWYN GOGONIANT I ENW DUW.

Gellid enwi amryw bethau i brofi hyny, sef fod pob adnewyddiad ar yr eglwys yn ogoniant i enw yr Arglwydd. "Yn lle drain y cyfyd ffynidwydd, ac yn lle mïeri y cyfyd myrtwydd." Wrth godi ffynidwydd yn lle drain, a myrtwydd yn lle mïeri, y deallir codi duwiolion defnyddiol yn lle annuwiolion; cael duwioldeb i weithio annuwioldeb allan o'r ffordd; a bydd hyny i'r Arglwydd yn enw tragywyddol; bydd yn achos o ennill ac o gysur i'r saint. Gan y bydd yn enw i'r Arglwydd, nid oes neb na dim all luddias ei amcan.

Gallwn sylwi ar dri pheth.

I. Yr ADEILAD.

II. YR ADEILADYDD.

III. Y CANLYNIAD O ORPHEN YR ADEILADAETH: "Yna y gwelir" yr Arglwydd, yr Adeiladydd mawr, "yn ei ogoniant."

I. YR ADEILAD: "Sïon." Y mae y darluniadau a roddir o Sïon yn profi mai yr eglwys a feddylir wrthi.

1. Dywedir fod Duw yn caru Sïon. "Yr Arglwydd a gâr byrth Sïon yn fwy na holl breswylfeydd Jacob."

2. Dywedir hefyd ei fod wedi dewis Sïon yn drigfa iddo ei hun. Y mae wedi dewis ei eglwys, nid ei chymeryd ar antur. Y mae wedi ei hoffi a'i dewis i fod yn briodferch iddo ei hun.

3. Yn Sïon y mae ei lys, eisteddfa ei lywodraeth. Yno y mae gorseddfa ei freniniaeth. Y mae wedi gosod ei Frenin ar Sion; a chaiff uffern wybod am ei nerth, a chaiff holl eithafoedd y ddaear wybod hyny hefyd.

4. Rhoddwyd i Sïon yr addewidion mwyaf gwerthfawr. "Yr Arglwydd a achub Sion, ac efe a adeilada ddinasoedd Judah." "I Sïon y daw y Gwaredydd," a bydd cynnulliadau llïosog ato.

5. Allan o Sïon y mae y Brenin yn dyfod: "Gwïalen ei nerth a enfyn yr Arglwydd allan o Sïon." "Dring rhagot, yr efengyles Sïon." "Y gyfraith a ä allan o Sïon, a gair yr Arglwydd o Jerusalem."

6. Y mae yr iachawdwriaeth fawr a'i holl freintiau yn dyfod o Sïon. O Sïon y daw allan iachawdwriaeth i Israel. "Yr Arglwydd a'th fendithia di allan o Sïon."

7. Yn Sïon y sefydlodd Duw ei ordinhadau, ac yno y mae ei waith mawr yn cael ei wneyd.

8. Y mae Sïon dan amddiffyniad Jehofah. "Y rhai a ymddiriedant yn yr Arglwydd fyddant fel mynydd Sïon, yr hwn ni syfla, ond a barhâ yn dragywydd."

9. Lle geni a magu ydyw Sïon. "Am Sïon y dywedir, Y gŵr a'r gŵr a anwyd ynddi, a'r Goruchaf ei hun a'i sicrhâ hi. Yr Arglwydd a gyfrif pan ysgrifeno y bobl eni hwn yno." Y mae y bobl yn ysgrifenu weithiau pan na bydd yr Arglwydd yn cyfrif. Nid yw yr Arglwydd yn cyfrif neb ond y rhai fyddant wedi eu geni yno.

10. Yn Sïon y mae y sylfaen wedi ei gosod, ar yr hwn y mae yr holl adeilad yn sefyll. "Wele fi," meddai yr Arglwydd, "yn sylfaenu maen yn Sïon, maen profedig, conglfaen gwerthfawr, sylfaen safadwy; ni frysia yr hwn a gredo."

II. Yr adeiladydd. Yr adeiladydd ydyw Jehofah. "Pan adeilado yr Arglwydd Sïon," pan adeilado Jehofah Sïon. Efe ydyw adeiladydd pob peth. "Pob tŷ a adeiladir gan ryw un, ond yr hwn a adeiladodd bob peth yw Duw." Y mae y gwaith mawr o adeiladu Sïon yn cael ei briodoli i'r Tad a'r Mab a'r Ysbryd. I'r Tad, oblegid efe a gynlluniodd yr adeilad yn y dechreu. Priodolir yr adeilad hefyd i Grist: "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys." Ac hefyd i'r Ysbryd Glân: "Yn yr hwn y'ch cydadeiladwyd chwithau yn breswylfod i Dduw trwy yr Ysbryd." Yr oedd yr apostolion, ac y mae holl weinidogion y gair, wedi cael eu gosod gan Dduw i gynnorthwyo y gwaith o adeiladu Sïon. Y maent oll yn adeiladwyr dan Dduw. Y mae yr Arglwydd am adeiladu Sïon trwy gynnorthwyon ei saint. Y sylfaen ar ba un y gosodir yr adeilad ydyw yr Arglwydd Iesu. Gellir dywedyd am yr adeiladydd ei fod yn un doeth a galluog, cyfoethog ac enwog.

1. Un doeth ydyw. Amlygir llawer o'i ddoethineb yn ei gynllun, yn ei ddarpariadau ëang yn nygiad y gwaith ymlaen. Y mae llawer o ddoethineb yn cael ei ddangos yn nhrefniad ac adeiladaeth y nefoedd, y myrddiynau ser ydynt yn addurno y wybrenau; ond y mae llawer mwy yn cael ei ddangos yn y drefn o adeiladu Sïon.

2. Adeiladydd galluog ydyw. Y mae llawer un wedi methu gorphen ei adeilad, drwy fod un cryfach nag ef yn ei wrthwynebu. Gorfoledded holl ymherodraeth Duw; y mae y Bôd a wnaeth y bydoedd yn benderfynol i adeiladu Sïon. "Teml yr Arglwydd a adeilada efe." Nid all unrhyw elyn ei rwystro i gyflawni ei waith. Y mae wedi

gosod ei fryd ar hyny, a myn ddwyn ei waith ymlaen er gwaethaf holl gyfrwysdra a chynddaredd y gelyn.

3. Adeiladydd cyfoethog ydyw. Y mae llawer adeiladydd yn gadael ei waith ar ei hanner o ddiffyg modd i'w orphen. Yr ydym wedi clywed a darllen am rai yn cynllunio ac yn cychwyn adeiladu, ond heb fod modd ganddynt i berffeithio eu hadeilad; ond y mae gan Jehofah ddigon o oludoedd i adeiladu ei Sïon.

4. Adeiladydd enwog ydyw: enwog am adeiladu yn gadarn, enwog am adeiladu yn hardd, enwog am adeiladu yn uchel, enwog am adeiladu yn drefnus, enwog am berffeithio ei waith; a saif adeilad Sïon yn hardd ac yn gadarn, pan y bydd yr holl greadigaeth yn ymddryllio.

III. Y CANLYNIAD I'R ADEILADYDD MAWR PAN Y BYDD WEDI GORPHEN EI WAITH: "Yna y gwelir ef yn ei ogoniant."

1. Efe a ddangosodd ei ogoniant wrth osod i lawr y sylfaen; a gogoniant ardderchog ydoedd. Yr oedd arddangosiad rhyfedd o ogoniant i'w weled pan y gosodwyd y seiliau. Bydd llawer o rwysg a gorfoledd yn fynych pan y byddys yn gosod i lawr seiliau rhyw adeiladaeth fuddiol ac anrhydeddus. "Cydganodd ser y bore a gorfoleddodd meibion Duw," pan seiliwyd y ddaear; ond canasant yn uwch ac yn felusach pan osodwyd i lawr sylfaen Sïon.

2. Dangosir gogoniant mawr yr Adeiladydd yn ei barotoadau at yr adeilad. Er mwyn adeiladu Sïon y codwyd yr haul i lywodraethu y dydd a'r lleuad i lywodraethu y nos. Tuag at adeiladu Sïon yr oedd yr Arglwydd yn trefnu deddfau y môr a'r tir a'r wybren. Adeiladu Sïon ydyw yr amcan mewn golwg wrth gyhoeddi yr efengyl a gweinyddu ei hordinhadau, a sefydlu cymdeithasau crefyddol, wrth argraffu a lledaenu Biblau, ac wrth anfon cenadau i Affrica a China ac ynysoedd y De. Daw miloedd â'u hanrhegion at allorau Crist er adeiladu Sïon. Gall

rhyfeloedd gydweitho â dyddiau o heddwch er adeiladu Sïon; ac y mae holl ddeddfau a threfniadau ein gwlad ni a gwledydd eraill i gydeffeithio er adeiladu Sïon; ac y mae holl olwynion rhagluniaeth yn troi, olwyn mewn olwyn, er ateb y dyben mawr yma.

3. Y mae y gwaith wedi cael ei ddechreu. "Nac ofna," medd Brenin Sïon, "canys yr wyf fi gyda thi. O'r dwyrain y dygaf dy had, ac o'r gorllewin y'th gasglaf. Dywedaf wrth y gogledd, Dod, ac wrth y dehau, Nac attal. Dygaf dy feibion o bell, a'th ferched o eithafoedd y ddaear."

4. Gellir gweled gogoniant Adeiladydd Sïon yn ei drefn o gymhwyso y defnyddiau at yr adeiladaeth, ac yn eu cydgysylltu oll i adeiladu yr un Sïon.

5. Pan orphenir adeiladu Sïon, bydd yr holl saint wedi cyrhaedd undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw; a phob un wedi cyrhaedd mesur oedran cyflawnder Crist.

ADDYSGIADAU.

1. Achos er gogoniant Duw ydyw adeiladu Sïon, nid achos er anrhydedd plaid.

2. Caiff yr Arglwydd fwy o ogoniant oddiwrth adeiladu Sïon nag oddiwrth ddim arall a wnaeth erioed.

3. Gwnawn ein goreu i fod o ryw gymhorth gyda'r gwaith; ond gochelwn ymffrostio, oblegyd yr Arglwydd yn unig sydd yn haeddol o'r holl ogoniant.

# PREGETH XXI.

## YR AFIECHYD A'R MEDDYG.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. EBENEZER RICHARD.

*Yn Llanbrynmair, Mehefin, 1822.*

IOAN v. 6: "A fyni di dy wneuthur yn iach?"

CAFODD y geiriau hyn eu gofyn gan yr Iesu i ryw ddyn oedd ar làn Llyn Bethesda. Nid oes genym fawr o hanes yn yr ysgrythyrau am y llyn hwn, ond yn unig fod y fath lyn yn bod yn Jerusalem, ac mai yr enw a roddid iddo yn Hebraeg oedd Bethesda; a bod iddo bump o byrth, ac y byddai yn y pyrth hyny lawer o gleifion yn gorwedd; a'u dyben oedd dysgwyl am gynhyrfiad y dwfr, oblegid y byddai i bwy bynag a elai i mewn yn gyntaf gael ei wneyd yn iach o ba glefyd bynag y byddai. A phan oedd Iesu yn myned o amgylch y ffordd hono, gan wneuthur daioni, fe welodd yn un o'r pyrth hyny un yn gorwedd ag oedd wedi bod yn glaf namyn dwy flynedd deugain; hyny yw, yr oedd wedi bod yn glaf ddeugain mlynedd ond dwy. Bu yn glaf yr holl amser hyny. Bu yn glaf am fwy o amser nag ystod oes llawer un. Nid ydym yn cael beth oedd ei enw, nac o ba le yr oedd; ond yn unig ei fod wedi bod yn glaf, ac yn gorwedd yno namyn dwy flynedd deugain. Gwyddai yr Arglwydd Iesu, fel yr oedd yn Dduw, er ys pa faint o amser yr oedd yno; ac wrth holi yn ei gylch, ei fod wedi bod yn gorwedd yno er ys hir amser bellach, efe a ofynodd iddo, "A fyni di dy wneuthur yn iach?" Nid yw yn holi dim arno ynghylch y llyn, nac a fynai efe gael ei daflu i'r llyn; ond yn unig, "A fyni di dy wneuthur yn iach?" Yn lle

ateb ar unwaith, aeth i ymresymu fel ninnau. "Nid oes genyf neb i'm bwrw i'r llyn." Eithr nid hyny ofynodd yr Iesu iddo, ond, "A fyni di dy wneuthur yn iach?"

Ceisiwn wneuthur ychydig sylwadau er ein haddysg oddiwrth y geiriau a'r amgylchiad:—

I. FOD HEINTIAU YSBRYDOL WEDI GAFAELYD YNOM WRTH NATUR: ein bod oll fel plant a hiliogaeth Adda wedi myned yn afiach, yn anhwylus a nychlyd, wedi myned yn glaf.

II. FOD GAN DDUW DREFN I WELLA DYNION: sef trefn i'n hiachâu; y mae llwybr i'w gael o drefniad Duw i iachâu rhai fel ni.

III. Y GOFYNIAD PWYSIG: "A fynwch chwi eich gwneuthur yn iach," yn ol trefn Duw? "A fynwch chwi eich gwneuthur yn iach?"

I. Rhaid i ni sylwi EIN BOD OLL WEDI MYNED YN AFIACH. Nid oes dim iechyd ynom. Y mae y clefyd wedi myned drwy ein holl natur. Nid oes yn ein henaid wrth natur ddim un math o sancteiddrwydd. Yr ydym oll wedi myned yn hollol afiach. Y mae afiechyd wedi gwywo ein tegwch, a gwanhâu ein nerth, a'n dwyn i nychdod a graddau o boen. Y mae y tri pheth hyn bob amser yn canlyn afiechyd,—

1. Y mae yn gwywo y tegwch. Pe byddai i afiechyd ddal dyn neu ddynes, ni byddai fawr o dro nes gwywo eu tegwch; felly y mae afiechyd pechod wedi gwywo ein tegwch ninnau. Dyn oedd y creadur tecaf a harddaf fu gan Dduw yn y greadigaeth; ond pan aeth i afael yr afiechyd hwn, gwywodd ei holl degwch.

2. Y mae yr afiechyd hefyd yn gwanhâu y nerth. Gwelir y dyn fu unwaith y cadarnaf yn y gymydogaeth, wedi myned drwy rym yr afiechyd yn rhy wan i symud o'r naill le i'r llall. Y mae ein hafiechyd ni fel pechaduriaid wedi ein gwneuthur yn weiniaid iawn, fel nas medrwn wneuthur daioni.

3. Ac hefyd y mae afiechyd yn dwyn poen gydag ef. Y

mae graddau o ryw boen a gofid yn dilyn pob afiechyd, er fod y boen weithiau yn drymach na'i gilydd. Felly y mae pechod wedi ein dwyn ninnau i boen. Y mae genym gydwybod euog boenus, a chalon mewn gofid.

Enwn yn awr rai o'r heintiau blinion sydd wedi dyfod yn ysbrydol ar ein heneidiau, ac mewn canlyniad i raddau ar ein cyrff, trwy ein syrthiad i bechod.

1. Didduwiaeth y meddwl. Y mae bod y meddwl yn ddidduw yn haint echryslawn, yn glefyd ofnadwy. "Yr ynfyd a ddywedodd yn ei galon, Nid oes un Duw;" ac "nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef." Y mae yn wag o Dduw yn ei holl feddwl a'i galon. Y mae didduwiaeth y meddwl wedi bod yn angeu i lawer enaid.

2. Anwybodaeth y meddwl. Y mae yr haint hwn yn achos o niweidiau rhyfedd sydd yn dyfetha llawer. Rhai felly ydym wrth natur: rhai wedi tywyllu ein deall; rhai wedi ymddyeithrio oddiwrth fuchedd Duw, trwy yr anwybodaeth sydd ynom. Y mae anwybodaeth am bethau ysbrydol yn alarus fawr yn ein dyddiau ni. Nid eisieu moddion gwybodaeth sydd arnom. Y mae y moddion genym yn gyfleus a helaeth iawn; ond nid mor oleu yn y Bibl y ceir llaweroedd, er fod moddion gwybodaeth yn eu plith. Er mor llïosog a gwerthfawr ydyw cyfryngau a moddion gwybodaeth, y mae anwybodaeth yn dyfetha degau o filoedd yn ein gwlad. Y mae anwybodaeth wedi damnio llawer enaid anystyriol, a'i ddyfetha, a'i yru i wlad dywyll lle na oleua byth arno.

3. Anghrediniaeth. Dyna glefyd ofnadwy arall sydd yn dyfetha llawer iawn o'n cyd-ddynion. "Edrychwch, frodyr, na bo yn neb o honoch un amser galon ddrwg anghrediniaeth, gan ymado oddiwrth Dduw byw." Y mae yr apostol yn arwyddo yn eglur fod y galon ddrwg o anghrediniaeth mor bell oddiwrth Dduw byw fel ag y bydd yn ôl oddiwrtho am byth, os na symudir ei anghrediniaeth. "Yr ydym ni

yn gweled nad allent hwy fyned i mewn oblegid anghrediniaeth." Anghrediniaeth a'u rhwystrodd hwy i mewn i'r Ganaan ddaearol, ac y mae lle i ofni a'u rhwystrodd hwy i mewn i'r Ganaan nefol hefyd. Dyna sydd yn cau llawer yn awr o wersylloedd y saint ar y ddaear, ac a fydd yn debyg o'u cau o orphwysfa y saint yn y nefoedd.

4. Calon-galedwch. Y mae dynion drwy galedwch eu calon wedi myned yn ddideimlad o'u clefyd. Y maent yn meddwl ac yn dywedyd eu bod yn iach pan y maent yn afiach iawn. "Na chaledwch eich calonau megys yn y cyffröad. Ond wrth bwy y digiodd efe ddeugain mlynedd? Onid wrth y rhai a bechasant, y rhai y syrthiodd eu cyrff yn y diffeithwch? Ac wrth bwy y tyngodd efe na chaent hwy fyned i mewn i'w orphwysfa ef? Onid wrth y rhai ni chredasant?" Perygl ofnadwy ydyw caledu y galon, oblegid syrthiodd llawer i ddinystr drwy hyny. Aeth llawer i golledigaeth at ddiafliaid drwy galedu eu calonau. Y mae y perygl mwyaf mewn calon-galedwch; am hyny gochelwch y fath haint echryslawn.

5. Syniadau daearol. "Canys y mae llawer yn rhodio, am y rhai y dywedais i chwi yn fynych, ac yr ydwyf yr awrhon hefyd dan wylo yn dywedyd, mai gelynion croes Crist ydynt; diwedd y rhai yw dystryw, duw y rhai yw eu bol, a'u gogoniant yn eu cywilydd, yn synied pethau daearol." Rhai yn synied pethau daearol ydynt. Pa beth fydd eu diwedd? "Diwedd y rhai fydd dystryw."

6. Hunan-gyfiawnder: neu ymddiried mewn rhyw gyfiawnder o'n heiddo ein hunain, yn lle ymostwng i ymddiried yn nghyfiawnder Duw. "Canys hwynt hwy heb wybod cyfiawnder Duw, ac yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ymostyngasant i gyfiawnder Duw." Ni ddaeth i'w calon mai Crist yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder i bob un sydd yn credu. Ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain yr oeddynt yn lle pwyso ar gyfiawnder Crist; ond ni lwydd-

asant i ateb eu dyben. Y mae yr haint hwn, haint yr hunan-gyfiawnder, yn un o'r rhai anhawsaf ei wella o holl heintiau calon lygredig. Yr oedd y Parchedig Walter Cradoc yn dywedyd fel hyn am dano: "Dyma'r drwg oedd yn y llestr ar y cyntaf, ac y mae ei flâs arno byth. Hunan-gyfiawnder oedd yn yr enaid ar y dechreu, ac y mae ei flâs arno eto; ac y mae yn anhawdd iawn cael y blâs hwnw o hono byth. Y mae blâs yr hunan-gyfiawnder oedd ynddo yn y dechreu ynddo o hyd." Hefyd yr oedd Rowlands yn dywedyd am dano, ei fod i ni fel ein crys, "Y peth cyntaf a roddwn am danom, a'r peth diweddaf yn cael ei dynu ymaith." Hunan-gyfiawnder fydd un o'r pethau diweddaf i gael ei dynu ymaith oddiam y Cristion.

7. Anniolchgarwch. Y mae yr haint hwn hefyd yn un peryglus iawn; ac y mae lluoedd wedi cael eu dystrywio ganddo. Y mae yr Arglwydd Iesu yn rhoddi yr "anniolchgar a'r drwg" yn yr un man dan yr un nôd o warth. Y mae yr Apostol Paul hefyd yn dywedyd yn ei Ail Epistol at Timotheus, "Gwybydd hyn hefyd y daw amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf, canys bydd dynion â'u serch arnynt eu hunain, yn ariangar, yn ymffrostwyr, yn feilchion, yn gablwyr, yn anufuddion i rieni, yn anniolchgar, yn annuwiol, yn angharedig, yn tori cyfammod, yn enllibaidd, yn anghymesur, yn anfwyn, yn ddiserch i'r rhai da, yn fradwyr, yn waedwyllt, yn chwyddedig, yn caru melus-chwant yn fwy nag yn caru Duw; a chanddynt rith duwiol-deb, eithr wedi gwadu ei grym hi: a'r rhai hyn gochel di." Un o bethau peryglus yr amseroedd enbyd oedd ysbryd anniolchgar. Nôd dyn tebyg i farw byth ydyw ei fod yn anniolchgar. Pa fodd felly? Am ei fod yn derbyn daioni o law Duw, ac heb ddiolch am dano. Ar bwy y mae rhwym-au i ddiolch i Dduw? Gallaf ateb trwy ofyn, Ar bwy nid oes rwymau i ddiolch iddo? Pwy ellir gael nas derbyniodd o law yr Arglwydd yn helaeth a hael? Gall y dynion na

dderbyniasant erioed ddim oddiwrtho, beidio diolch iddo; ond os ydym yn derbyn yn barhâus oddiwrtho, ac yn ymddibynu bob moment ar ei drugaredd, dylem ddiolch iddo. Canmolwn yr Arglwydd am ei ddaioni. Ac os oes y fath rwymau arnom i ddiolch iddo am ei ddaioni tymmorol, pa faint mwy sydd arnom i ddiolch iddo am ddaioni ysbrydol yn nhrefn fawr yr iachawdwriaeth?

8. Gwrthgilio. Dyna haint trwm iawn. Pla enbyd ofnadwy ydyw gwrthgilio. Dyma bla ag y mae Duw yn tystio am dano, nad yw ei enaid yn ymfoddloni ynddo. Y mae hwn yn fwy enbyd ar rai golygiadau nag yr un o'r lleill. Y mae rhai o'r elorau ag oedd yn cario rhai i ddystryw yn awr wedi cael eu troi yn ol, ond y mae elor y gwrthgiliwr yn myned ymlaen o hyd; heb fawr o obaith y gellir ei droi yn ol. O am fodd i feddyginiaethu y fath ymchweliad andwyol!

Ond cyn gwella dyn o'i bla, rhaid iddo gael ei ddwyn i deimlo ei bla. Y rhai a wyddant bla eu calon yw y rhai y mae gobaith am iachâd. Pan ddelo efe, y Meddyg da, efe a iachâ y neb nad allodd neb arall ei wella. Rhaid dwyn dyn i deimlo ei bla, oblegid "nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg." Hefyd rhaid i ddyn ddarfod â phob gobaith y gall ei wella ei hun. Y mae pob cais o eiddo dyn i geisio ei iachâu ei hun, yn gwneuthur ei glefyd yn waeth. Rhaid i bob un ei roddi ei hunan dan law, a phlygu i drefn y Meddyg da, onidê ni ddaw byth yn iach.

II. Y MAE GAN DDUW DREFN I WELLA ENEIDIAU. Dyma newydd da o annhraethol werth. Y mae yma lawer o honom heddyw yn afiach hollol, ond y mae gan Dduw drefn i'n gwella. Y mae ganddo ffordd i iachâu. Nid damwain ydyw trefn yr iachawdwriaeth; ond y mae yn drefn ogoneddus i iachâu. Trefn ryfedd iawn ydyw. Y mae yn ein Gilead ni driagl, a Physygwr hefyd; balm wedi tarddu o'r marw fu ar Galfaria. Dyna ydyw y balm, y

nodd gwerthfawr ag ydoedd yn dyferu o'r balmwydden; ac i'r dyben i'r nodd redeg yn fwy rhydd, byddent yn tori y rhisgl, yn hollti neu rwygo y balmwydden. Palmwydden fawr iraidd oedd Iesu. Tyfodd mor union ag y mynai y ddeddf iddo dyfu. Tyfodd yn union a hardd o Bethlehem trwy ei holl oes; ond yn yr ardd fe ddechreuodd y balm lifo allan; dyferodd drwy dyllau y chwys; ond yr oedd yn rhaid iddo lifo yn fwy helaeth a rhyfedd ar ol hyny. Ymhen ychydig dacw y pen wedi ei archolli â'r drain, a'r cefn wedi ei archolli â'r fflangell; a dacw ei waed yn rhedeg ar hyd ei gorff; ond nid ydoedd eto ddim yn rhedeg yn ddigon rhydd; ac felly agorwyd ei ystlys â gwaewffon; ac y mae rhai yn dywedyd mai yr ystlys dde a drywanwyd, ac os yn yr ochr dde y bu y trywanu, yr oedd mwy o ffordd gan y waewffon i gyrhaedd y galon; yr oedd yn myned drwy yr holl fynwes; ond cyrhaeddodd y galon, a daeth allan ddwfr a gwaed. Llifodd allan yn rhyfedd; ac yn y balm hwnw y mae myrddiynau wedi cael ac i gael iachâd. Dyma y drefn i'n hiachâu, drwy i rinweddau y balm hwn gael eu cymhwyso at ein heneid. Nid oes neb yn rhy ddrwg eu cyflwr i'r balm hwn eu hiachâu. Iacheir y dyfnaf ei friwiau â'r triagl hwn; ac y mae yr Ysbryd Glân yn barod i'w gymhwyso.

III. "A FYNWCH CHWI EICH GWNEUTHUR YN IACH?"

Y mae rhai yn barod i ofyn yn ngwyneb y cwestiwn hwn, Pwy dâl *bill* y Meddyg? Pwy gliria y swm fydd arnaf i'w dalu am fy ngwella? A fynwch chwi eich gwneuthur yn iach? ydyw y cwestiwn; ïe, yn iach dragywyddol gorff ac enaid; ïe, mor iach fel na ddywedwch byth claf ydwyf, ac na welir chwi byth mwy yn glaf. Ac y mae Crist yn meddyginiaethu yn rhad. Y mae yn rhoddi y physic yn rhad, a'i drafferth yn rhad. Y mae yn gwneyd y cwbl yn rhad ac am ddim. Ymddiried dy hun iddo. Gofynaf, eto, "A fynwch chwi eich gwneuthur yn iach?" Y mae gan

ddynion lawer iawn o esgusodion dros beidio dyfod ato. Y cwestiwn yw, "A fyni di dy wneuthur yn iach?" Wel, ïe, hen hen bechadur ydwyf fi. Nid oes dim a fyno dy oed â'r cwestiwn. Un caled iawn wyf fi; nid oes a fyno y cwestiwn â dy hanes. "A fynwch chwi eich gwneuthur yn iach?" ydyw y cwestiwn. Os yn ngafael eich afiechyd a'ch clwyfau yr aroswch, bydd y bai yn hollol arnoch eich hunain. Fe fydd y Meddyg da yn rhydd oddiwrth eich gwaed; ac fe fydd ei weision, y rhai sydd yn eich gwahodd, yn rhydd hefyd oddiwrth eich gwaed. Byddwch yn ddiesgus byth, os ewch i fyd arall yn ngafael eich afiechyd. A oes dim argoel gwella arnoch? Crybwyllwn rai o'r arwyddion fod yr afiechyd yn gwella.

1. Fod y claf yn dechre plygu ei galon, a chodi ei law. Y mae hyny yn argoel gwella. Plyga dy galon o flaen Duw, a dyrchafa dy law yn wylaidd a sanctaidd ato mewn gweddi.

2. A ydyw y syched yn darfod? Pan y mae dynion mewn clefydau trymion, y mae eu syched yn fawr. Os nad yw y syched yn lleihâu, nid oes dim argoel gwella. Rhaid i'r syched ddarfod os ceir iachâd. A ydyw ein syched at bethau y ddaear a mwynderau bydol a phleserau cnawdol yn darfod? Os nad ydyw, y mae yn annhebyg iawn fod y clefyd yn gwella.

3. Gallu goddef y goleuni. Pan y byddo dyn yn glaf iawn mewn clefyd trwm, nis gall oddef y goleuni i lewyrchu o'i amgylch; ond os bydd yn dechre iachâu, y mae yn mwynhâu y goleuni, ac y mae hyny yn argoel ei fod yn gwella. Pe baech yn myned i ystafell dyn claf ac yn gofyn, Paham y mae yr holl leni hyny o'i amgylch ac ar ei ffenestr? atebent yn union nad yw yn gallu goddef y goleuni; ond pan y bydd y lleni yn cael eu tynu, bydd hyny yn arwydd ei fod yn dechre gwella. Os wyt yn gallu goddef i oleuni gwirionedd Duw lewyrchu ar dy feddwl, yn

lle gwingo a therfysgu yn ei erbyn, y mae hyny yn arwydd dy fod yn dechre gwella; ac fel y byddi yn gwella ac yn cryfhâu, byddi yn gallu dyoddef i'r goleuni lewyrchu yn fwyfwy tanbaid.

4. Y mae y meddyg yn dyfod yn ŵr o barch yn ngolwg y claf, pan y byddo yn gwella. Felly os wyt tithau yn gwella, y mae Iesu yn dyfod yn fwy anwyl genyt.

5. Os wyt yn gwella, yr wyt yn dyfod yn gryfach a mwy parod i wneuthur rhywbeth dros yr Iachawdwr. Y mae arnat awydd gwneuthur rhywbeth drosto. Pan y mae dyn yn gwella, y mae am afaelyd mewn rhywbeth i'w wneyd. Y mae arno awydd anghyffredin i weithio. Felly os wyt tithau yn dechre gwella, ti a edrychi a gofyni am rywbeth i'w wneyd. Pan oedd Saul o Tarsus yn dechre gwella, yr oedd yn galw yn union am gael rhywbeth i'w wneuthur.

6. Pan y mae un yn gwella, y mae arno ofn mawr rhag iddo ail glafychu. Y mae ar y claf ystyriol ofn hyny yn fwy na dim. Y mae am wylio rhag i'r clefyd gydio ynddo eilwaith. Os ydych dan law y Meddyg da y mae arnoch arswyd rhag i'r clefyd afaelyd ynoch eilwaith, a rhoddi anair a gofid iddo. Am hyny glŷn i aros dan ei law, fel na byddo i'r clefyd ailgydio.

7. Y mae arno awydd canmawl ei feddyg, a chyhoeddi ei enw. Yr oedd yn gyfraith mewn rhyw wlad, pan y byddai dyn yn dechre gwella, iddo fyned at groes y farchnad, i'r dyben i bawb gael ei weled, ac i'r meddyg a'r moddion gael eu gwneyd yn gyhoeddus; ac yr oedd yn rhwym i fynegu i bawb pa fodd yr oedd wedi gwella. Felly cyhoeddwch chwithau mor drwm a dwfn oedd eich clefyd; ac yn y diwedd cofiwch osod allan glod y Meddyg; ei dynerwch, ei fedr a'i ffyddlondeb. Dywedwch mor agos y buoch i fyned i uffern, mor wyllt yr oeddych yn rhedeg tuag yno; a dengys hyny gariad a gofal y Meddyg drwy iddo dy feddyginiaethu; a'r canlyniad fydd iddo gael yr holl glod.

## PREGETH XXII.

### ERLID O ACHOS CYFIAWNDER.

AN Y DIWEDDAR BARCH. DAVID MORGAN, CEFNCOEDCYMER.*

MATTHEW v. 10, 11: "Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder; canys eiddynt yw teyrnas nefoedd. Gwyn eich byd pan y'ch gwaradwyddant, ac y'ch erlidiant, ac y dywedant bob drygair yn eich erbyn er fy mwyn i, a hwy yn gelwyddog."

DIAMMHEU eich bod wedi sylwi fod gwahaniaeth pwysig rhwng gwyn fyd y testun a'r gwynfydau eraill; gwahaniaeth mor bwysig fel y mae rhai yn dal mai dim ond saith gwynfyd sydd, ac nad yw gwynfyd y testun ond math

* Cymerwyd yr hyn a ganlyn o'r *Dyddiadur* am 1877:—"Bu farw y Parch. DAVID MORGAN, Cefncoedcymmer, Awst 17, 1876, yn 28 mlwydd oed. Magwyd ef yn yr eglwys, ac ni bu allan o honi. Ni wyddai am un bywyd ond bywyd crefyddol. Bu mewn ysgolion dyddiol hyd nes iddo gael mynediad i Athrofa Trefecca yn *lay student*. Safai ar ben y rhes yn yr arholiadau blynyddol yn Nhrefecca. Ar gymhelliad taer ei gyfeillion, dechreuodd bregethu tra yn yr athrofa. Wedi treulio y cwrs penodedig yno, safodd arholiad am fynediad i brifysgol Glasgow. Aeth trwy ei waith yn anrhydeddus, gan ennill *scholarship*. Ni chaniatäodd iechyd iddo aros yno ond ychydig amser, Dychwelodd gartref ac ymgryfhäodd. Yn y flwyddyn 1873 ymsefydlodd yn fugail ar eglwys y Cefn. Cafodd ei ordeinio yr un flwyddyn Ymhen ychydig fisoedd derbyniodd alwad unfrydol eglwys Peniel, Pontypridd, un o'r eglwysi mwyaf parchus yn y sir. Yr oedd yntau wedi cydsynio â'r alwad, ond bu farw yn nhŷ ei dad yn nghyfraith, Mr. Griffith, Trefforest, gan adael gwraig ieuanc a dau o blant i alaru ar ei ol, ac erbyn hyn y mae ei wraig wedi ei ddilyn i'r wlad well." Yr oedd er ei wendid corfforol yn un o'r pregethwyr mwyaf dysglaer a fagodd Sir Forganwg erioed, fel y dengys y bregeth brydferth ganlynol, yr hon a gawsom o law ei dad yn nghyfraith trwy garedigrwydd y Parch John Morgan Jones, Caerdydd.

o attodiad atynt, yn ffurfio dosbarth ar ei ben ei hun. Yn y cyntaf, cymeriad y Cristion sydd yn cael ei arddangos; yn yr ail, cyflwr y Cristion. Yn y naill yr ydym yn cael y Cristion ynddo ei hun, a grasusau teyrnas nefoedd yn blaguro ynddo yn eu perffeithrwydd; yn y llall yr ydym yn cael y Cristion, nid ynddo ei hun, ond yn ei berthynas â'r byd, yn gwrthdaro yn ei erbyn ac yn cyffroi ei elyniaeth.

Perthynas y Cristion â'r byd sydd yn cael ei arddangos yn y testun a'r adnodau dilynol, ac y mae'r berthynas yma yn cynnwys dwy elfen—gwrthdarawiad, a dylanwad. Y syniad yn adnod 10, 11, yw bywyd y Cristion yn creu gwrthdarawiad yn erbyn y byd, ac felly yn cyffroi gelyniaeth ac erlidigaeth y byd. Y syniad yn yr adnodau dilynol yw bywyd y Cristion yn creu dylanwad ar y byd i'w oleuo a'i sancteiddio; ac y mae'r ddwy wedd yma yn arddangosiad cyflawn o'r berthynas y mae'r Cristion yn sefyll ynddi â'r byd. Y mae bywyd y Cristion yn taro yn erbyn y byd, nes cyffroi ei elyniaeth, nes ei *brovokio* i'w erlid, ac y mae hyny yn ol y testun yn wynfydedig.

Felly, mater y geiriau yw, Fod dyoddef ynglŷn â theyrnas nefoedd yn wynfydedig. Nid yw y Gwaredwr yn addaw tywydd teg i'w ddysgyblion, ac y mae yn onest iawn yn dyweyd y gwir wrthynt ar y cychwyn, pan yr oedd cyfleusdra iddynt i'w adael a throi yn ol. "Dyma'r *prospects* sydd o'ch blaen," meddai, "dyoddef ac erlid. Os dilyn, dilyn trwy warth ac anghlod, ac fe allai angeu ei hun." Dyfodol tywyll iawn, onidê, i ddysgyblion ieuainc, *raw?* Ond fe wyddai y Gwaredwr yn dda am yr ystwff oedd ynddynt.

Y mae Crist yn manylu ar y dyoddef, ac yn ei arddangos yn ei wahanol elfenau. Yn adn. 10 symia i fyny yr oll mewn un gair—erlid: "Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder." Yn yr adnod nesaf dosbartha y gair i'w wahanol ranau—gwaradwyddo, erlid, a dyweyd pob drygair. Cyfeiria y cyntaf—gwaradwyddo, at bob math

o ddifenwad mewn gair; cyfeiria yr ail—erlid, at bob math o ymosod trwy weithredoedd; a'r trydydd—dyweyd pob drygair, at bob math o ddiraddiad o ran cymeriad ac amcan; a'r cyfan yn cael ei symio i fyny yn adn. 10 mewn un gair—erlidigaeth.

Y mae dyoddef ynglŷn â theyrnas nefoedd yn wynfydedig,

I. AM EI FOD YN PROFI EIN HYMLYNIAD WRTH EGWYDDORION Y DEYRNAS: "Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder."

Fe allai ei fod yn anhawdd penderfynu i sicrwydd beth a feddylir wrth gyfiawnder yn y fan yma. Yr esboniad mwyaf naturiol yw mai teyrnas nefoedd yn ei hegwyddorion a'i deddfau a feddylir, a bod dyoddef o achos cyfiawnder yn golygu dyoddef o herwydd ein hymlyniad wrth y deddfau hyn; am ein bod yn *loyal* i'r deyrnas. Nid deddfau allanol y deyrnas yn gymaint a feddylir, ond y deddfau wedi troi yn egwyddorion mewnol mewn cymeriad. Perffeithrwydd teyrnas, a'r sicrwydd goreu am ei sefydlogrwydd yw, fod ei deddfau allanol wedi troi yn egwyddorion byw yn argyhoeddiad a chydwybod a bywyd y deiliaid. Os na fydd seiliau teyrnas yn ddwfn i lawr yn meddwl a chalon y deiliaid, nid oes fawr ddiysgogrwydd yn perthyn iddi. Felly wrth ddyoddef o achos cyfiawnder y golygir actio allan egwyddorion y deyrnas er gwaethaf gwrthwynebiadau. Y mae eisieu i ni ymdeimlo â chrefydd weithiau fel y mae yn gyfiawnder; fel y mae yn appelio at ein cydwybod, a'n teimlad o ddyoddefgarwch, yn gystal ag at ein cariad a'n serch. Y mae rhy fach o argyhoeddiad a chydwybod yn ein crefydd; pwnc o deimlad yw yn rhy fynych, ac nid pwnc o gyfiawnder hefyd.

Y mae dyoddef ynglŷn â theyrnas nefoedd yn profi nerth a gwirionedd ein hegwyddorion. Rhaid cael cryfder i ddal erlidigaeth; rhaid fod ein bywyd crefyddol wedi ei seilio

yn ddwfn ar egwyddorion digyfnewid i allu dal yn ngwyneb stormydd y byd. Y mae llawer adeilad brydferth a mawreddog wedi syrthio yn garnedd yn y dymhestl o herwydd ei bod wedi cael ei hadeiladu ar y tywod, heb sail na sylfaen iddi. Ond am y tŷ sydd wedi ei seilio ar y graig—ar wirionedd a chyfiawnder—y mae mor sefydlog a'r graig ei hun; gall sefyll yn ddigryn yn nghanol rhuthr y dymhestl a'r llifeiriant.

Y ffordd i ddadguddio nerth yw trwy wrthwynebiad. Os ydych am ddeall grym llifeiriant yr afon, nid pan y mae yn rhedeg yn llyfn a thawel yn ei gwely y cewch chwi hyny, ond trwy osod rhwystr ar ei ffordd; trwy geisio stemio'r *current*. Chwi ddeallwch ei nerth felly. Hi a ymgrona, hi a ymgynddeirioga, hi a ymdora dros ben pob rhwystr, gan ruthro ymlaen yn llawn llid a chyndaredd. Y mae nerth deddf anhyblyg ynddi. Felly am egwyddorion bywyd y Cristion; gwrthwynebiad sydd yn dangos eu nerth hwythau, a hyny yn fynych i'r dyn ei hun. Y mae *current* ei fywyd yn ymddangos yn ddigon tawel a dinerth pan yn rhedeg yn llyfn a dystaw yn ei *channel* ei hun; ond ceisiwch ei rwystro; ceisiwch stemio'r llifeiriant trwy daflu erlidigaeth ar y ffordd, chwi deimlwch wed'yn fod nerth bywyd annherfynol ynddo. Fe fyn ei ffordd er gwaethaf pob peth. Haws plygu deddfau natur y greadigaeth, na phlygu deddfau natur hwn.

Gwrthwynebiad sydd yn dangos nerth. Y mae llawer un yn ferthyr na fu erioed wrth y stanc: y mae'r merthyr ynddo yn guddiedig, ac nid oes eisieu ond erlidigaeth i'w ddadguddio. Y mae *martyr stuff* mewn llawer Cristion digon eiddil. Ni ddeallodd ef ei hun mo hyny. Y mae llawer i Gristion llwfr a dinôd, pe torai erlidigaeth allan, a digon o *heroism* yn ei gymeriad i deilyngu safle barchus ar lechres ffydd yn yr Epistol at yr Hebreaid, ac i sefyll ochr yn ochr â Moses a Dafydd a'r hen gewri. Ond am na

chafodd fantais i ddangos ei hun fe fu farw fel *common soldier*, er fod defnydd gwron ynddo.

Rhaid cael argyhoeddiadau dyfnion ac ymlyniad cryf, cyn medru dal wrth ein hegwyddorion yn nghanol dyoddef a gwarth. Dim ond argyhoeddiadau yn gwreiddio mewn cydwybod all roi diysgogrwydd diball yn ngwyneb erlidigaeth. 'Does dim fel crediniaeth gref, yn enwedig os bydd yn cael ei chyfnerthu gan gydwybod, at roddi cryfder a dewrder gwron. Ychydig o gredu cryf sydd y dyddiau hyn, mae lle i ofni; credu â holl afaelion meddwl a chydwybod. Y mae ysgafnder ac arwynebedd yr oes yn cau allan argyhoeddiadau dyfnion. 'Does fawr ddwysder na dyfnder mewn dim. Nid yw ein hargyhoeddiadau dyfnaf ni yn aml ond tybiau ac opiniynau, rhy eiddil i ddal ystormydd erlidigaeth. Credwyr cryf sydd yn gallu dal yn ddiball yn ngwyneb pob gwrthwynebiad. Beth oedd yn creu y fath benderfyniad di-ildio yn Paul, penderfyniad yn ymylu ar gyndynrwydd? Beth hefyd, ond crediniaeth ddofn, angerddol yn yr efengyl a'i gwirioneddau? Dyma y cwbl mewn ychydig eiriau; "Credais, am hyny lleferais." Rhaid llefaru er gwarth a gwaradwydd; pob peth yn haws na gwadu ei egwyddorion. 'Does dim mor gryf a diblygu a bywyd wedi ei feddiannu yn llwyr âg egwyddorion teyrnas nefoedd. Hawddach symud mynyddoedd i'r môr na symud hwn; haws troi'r ser yn eu cylchdro na throi hwn; hawddach plygu deddfau natur na phlygu hwn. Dal, dal, dal, er gwaethaf pob peth; dal yn syth gan herio'r dymhestl i wneyd ei gwaethaf. Dal yn ddigryn fel y graig, gan daflu tonau cynddeiriog yn ol, yn ymferwi gan ddialedd—yn ol yn *spray* dinerth, dim ond trwy ddal yn ddisigl, gan dreulio cynddaredd yr ystorm allan trwy ddyoddef yn dawel a dystaw.

Gwaith anhawdd iawn yw dyoddef dros ein hegwyddorion. Y mae yn llawer haws gweithio drostynt na dyoddef

drostynt. Y mae *heroes in action* yn amlach na *heroes in suffering*. 'Does dim fel dyoddef am brofi ein hymlyniad wrth ddeddfau'r deyrnas, ac am ei fod yn profi ein hymlyniad y mae yn wynfydedig. *It is a grand thing to die for a noble cause;* ac o bob achos dyma y mwyaf *noble*, achos cyfiawnder. Y mae yn werth glynu ynddo trwy ddwfr a thân; gwell marw na throi yn fradwr iddo.

Y MAE DYODDEF YNGLYN A THEYRNAS NEFOEDD YN WYNFYDEDIG AM EI FOD YN PROFI EIN HYMLYNIAD WRTH FRENIN Y DEYRNAS: "Gwyn eich byd pan y'ch gwaradwyddant . . . . er fy mwyn i."

Dyoddef er mwyn cydwybod sydd yn y cyntaf, dyoddef er mwyn cariad sydd yn yr ail; *loyalty* i ddeddfau'r deyrnas sydd yn y naill, ymlyniad wrth Frenin y deyrnas sydd yn y llall. Y mae'r ddau ddosbarth yma i'w cael gyda chrefydd. Yn y naill, deddf a chyfiawnder yw pob peth; yn y llall, cariad a gras; ond y Cristion goreu sydd yn cyfuno y ddau; gras a gwirionedd, cariad a chyfiawnder yn ymdoddi i'w gilydd yn ei grefydd.

Un o nodweddion penaf crefydd yr efengyl yw y pwyslais arbenig y mae yn ei roddi ar Berson yr Arglwydd Iesu, ac y mae hyn ar unwaith yn gydnabyddiaeth o un o ffeithiau dyfnaf ein natur. 'Does dim fedr gynhyrfu ein bywyd ni i'w haenau dyfnaf, gan alw allan ei deimladau goreu a phuraf, ond dylanwad person. Fe ddywedir wrthym fod dwy *stage* wahanol yn ngweinidogaeth y Gwaredwr. Yn y gyntaf, yn nechreuad ei weinidogaeth, y mae Crist yn cuddio ei hun y tu cefn i'w eiriau; yn yr ail, tua diwedd ei weinidogaeth, y mae yn cadw ei hun yn ffrynt ei eiriau. Ond yn y testun, hyd yn nôd yn nechreuad ei weinidogaeth gyhoeddus, yr ydym yn cael ei fod yn methu cuddio ei hunan yn llwyr. Yr oedd cysylltiad mor agos rhwng ei ddysgeidiaeth a'i Berson fel yr oedd yn anmhosibl eu

gwahanu. "Er fy mwyn i;" dyma'r Person yn y golwg yn y fan.

'Does dim fel cariad am ddyoddef dros ei wrthddrych. Un o *expressions* cariad yw hunanaberth. Gwir y gall argyhoeddiad a chydwybod greu merthyron, ond am bob un merthyr dros wirionedd fe geir mil o ferthyron dros gariad. Nid yw dyoddef dros egwyddor ddim at ddyoddef dros berson. Un o ffurfiau cariad yw hunanaberth, a'r ffurf uchaf ar hunanaberth, gellid meddwl, yw dyoddef. Yr oedd Pedr yn gallu gweithio dros ei Arglwydd ymhell cyn ei fod yn medru dyoddef drosto. Gwir iddo broffesu fod ei gariad yn ddigon cryf i ddyoddef drosto yn yr oruwchystafell: "Pe gorfyddai i mi farw gyda thi, ni'th wadaf ddim," meddai. Nid oedd yn adnabod ei hun eto; yr oedd y safon yna yn rhy uchel i'w gariad gyrhaedd ato; ond y mae yn sicr o'i chyrhaedd yn y man.

Nid all neb *inspiro* cariad fel hwn. Y mae wedi seilio ei deyrnas yn nghalonau ei ganlynwyr; ar serch dwfn ac angherddol ato ei hun. "Y mae Alexander, Cesar, Charlemagne, a minnau," meddai Napoleon, "wedi sylfaenu ymherodraethau, eithr ar rym naturiol; ond y mae Iesu Grist wedi sylfaenu ei ymherodraeth ar gariad, ac y mae miliynau yn barod i farw drosto y fynyd hon." Y mae llawer yn barod i ddyoddef dros Frenin y deyrnas, heb ddeall fawr am egwyddorion y deyrnas. Nid ydynt yn ddysgedig i ddeall y *constitution*, ac eto y mae eu calon wedi ymglymu wrth y Brenin. Y maent wedi cael golwg arno yn ei degwch, ac y mae eu serch wedi rhedeg yn gwbl arno. Yr oedd yr enwog Dr. Chalmers unwaith yn holi hen wraig yn cynnyg ei hun am aelodaeth yn ei eglwys. Wedi gofyn y naill gwestiwn ar ol y llall iddi o barth i egwyddorion ac athrawiaethau crefydd, a methu cael atebiad i un o honynt, fe benderfynodd y Doctor ei bod yn rhy anwybodus i gael ei derbyn yn aelod, ac fe ddywedodd hyny wrthi. Dyma

hithau dan wylo yn tori allan i ddyweyd, "Syr, nis gallaf siarad dros Iesu Grist, ond yn wir mi allaf farw drosto." Y mae llawer un fel yr hen wraig heb fod yn ddigon dysgedig, heb fod yn ddigon o gyfreithwyr, i ddeall deddfau teyrnas nefoedd, ac i egluro egwyddorion ei chyfansoddiad; ond er na allant siarad drosto, hwy allant farw drosto unrhyw awr. Y mae eu hymlyniad wrtho mor agos fel nas gall dyoddef, nac erlid, nac hyd yn nod angeu ei hun eu gwahanu oddiwrtho.

Dywedir wrthym fod yn bosibl trwy nerth *electricity* gysylltu dau fater—darn o haiarn fel enghraifft—nes bydd yn anmhosibl bron eu gwahanu er gosod y *pressure* trymaf arnynt. Dim ond trefnu cyfrwng i'r trydan redeg o'r naill i'r llall, y mae'r ddau wedi eu cysylltu yn anwahanol, ond y foment y rhwystrir y ffrydlif dyna'r ddau yn gwahanu yn y fan. Y mae yna ryw drydan dwyfol yn rhedeg o Berson yr Arglwydd Iesu i fywyd y cristion, ac yn rhinwedd hwnw y mae cysylltiad mor agos rhyngddynt fel nad oes modd eu gwahanu er dwyn at hyny bob *pressure* a fedd y diafol ei hun. Y mae yna ffrydlif ddirgel yn rhedeg o Grist trwy holl fywyd y credadyn, a thra y parhao y cymundeb nid oes bosibl eu dadgysylltu. Y mae yr apostol yn herio pob gallu i geisio gwneyd hyny. "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? Ai gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu gleddyf?" Dyna bwysau ofnadwy, onidê? Ond y mae yr oll yn aneffeithiol. "Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym yn fwy na choncwerwyr trwy yr Hwn a'n carodd ni."

'Does neb yn gallu *inspirio* cariad fel hwn. Dim ond i ni gofio pwy ydyw, a pheth wnaeth ef drosom, peth hawdd fydd dyoddef drosto; ni fydd un peth yn ormod i'w wneyd drosto. Yr oedd boneddiges unwaith, yn ystod rhyfeloedd Italy, yn pasio trwy un o'r *hospitals*, a hi a ddaeth at wely milwr dewr oedd wedi ei glwyfo yn ddwfn ar faes y gwaed.

Fe dosturiodd ei chalon yn y fan tuag ato, a dyma hi yn dechreu *attendio* arno, a'i *nursio* gyda gofal a thynerwch, gan wneyd pob peth a allai i'w wneyd yn gysurus. Wrth ymadael y mae yn gosod tusw o flodau prydferth a pheraidd yn ymyl ei wely i'w sirioli. Pan welodd y milwr ei charedigrwydd dyma efe yn tori allan i wylo, ac yn ei chyfarch mewn llais drylliedig: "Madam, yr ydych yn rhy garedig o lawer i ryw filwr gwael fel fi." "Na, atebai y foneddiges, "'does dim posibl dangos gormod o garedigrwydd am y dyferyn lleiaf o waed Italaidd." "No kindness can be too much for one drop of Italian blood!" Felly y cristion wrth feddwl am yr hyn a wnaed drosto gan ei Waredwr. 'Does yr un aberth yn ormod, yr un dyoddef yn rhy chwerw, yr un erlidigaeth yn rhy lem; y mae y cwbl yn myned yn ddim yn ymyl y dyferyn lleiaf o waed y groes. "Gwyn eich byd pan eich gwaradwydder . . . . . . er fy mwyn i."

III. Y MAE DYODDEF YNGLYN A THEYRNAS NEFOEDD YN WYNFYDEDIG AM EI FOD YN PROFI EIN BOD YN DDEILIAID O'R DEYRNAS: "Canys felly yr erlidiasant hwy y prophwydi a fu o'ch blaen chwi."

Dyma un o farciau'r deiliaid ymhob oes, meddai'r Iesu, un o *features* amlycaf y teulu; rhai yn cael eu herlid ydynt i gyd. Y mae rhywbeth rhyfedd, onid oes, yn nghysylltiadau y geiriau hyn. Yn adn. 9 arddangosir y cristion fel tangnefedd-wneuthurwr, ond yn yr adnod nesaf nid swn tangnefedd ond swn rhyfel sydd i'w glywed. Er mai tangnefedd-wneuthurwr ydyw, eto y mae yn cyffroi gelyniaeth y byd. Ar yr olwg gyntaf gellid meddwl fod cymeriad y cristion yn gyfryw ag i ennill y byd, yn hytrach na'i gynddeiriogi i elyniaeth, o herwydd rhinweddau addfwyn, tyner, goddefgar, yw prif rasusau ei gymeriad; ond yn lle hyny y mae'r Gwaredwr yn cysylltu gelyniaeth y byd yn uniongyrchol âg actio allan garacter o'r fath. Canlyniad naturiol byw

allan gymeriad ag y mae addfwynder a gostyngeiddrwydd, trugaredd a thangnefedd yn brif elfenau ynddo yw, *provokio* y byd i elyniaeth. Y mae bywyd o'r fath yma yn *protest* i'w erbyn ac yn gondemniad arno. Y mae llawer o son am bregethu yn erbyn pechodau yr oes; dylid byw yn erbyn pechodau yr oes hefyd, a dyma y pregethu goreu o lawer. Fe elwir Noah yn bregethwr cyfiawnder. Nid oes hanes iddo draddodi yr un bregeth erioed; nid pregethu mewn geiriau a wnaeth efe, ond mewn gweithredoedd. Ei bregeth ef oedd yr arch, a phregeth gampus oedd hi hefyd; pregeth oedd yn gondemniad ar y byd.

Y mae bywyd y cristion i wrthdaro yn erbyn y byd nes cyffroi ei gynddaredd. 'Dyw dynion duwiol erioed wedi bod yn *favourites* gan y byd yma; derbyniad oer ac anfoesgar maent yn ei gael bob amser. Dyma oedd tynged y goreu fu yn y byd erioed, dim gwell na phreseb anifail i ddechreu a chroesbren garw i ddybenu. Nid yw y byd yn deilwng o'r rhai hyn, a chroesaw digon sur a gânt; cael eu herlid, cael eu hela o fan i fan; eu hela nes peri iddynt ymguddio yn nhyllau ac ogofeydd y ddaear. Hanes dyoddef yw hanes eu bywyd; marciau gwaed sydd ar hyd eu llwybrau bob cam o'r yrfa. "Cario'r groes," dyna yw dilyn Crist, yn ol Crist ei hun.

Os dyoddef yr ydych, ynte, yr ydych yn dyoddef mewn cwmni da iawn. Gwyn eich byd gan hyny. Y mae goreuon y ddaear yn perthyn i'r teulu hwn. Nid yw gelyniaeth y byd yn eich erbyn ond prawf o'ch disgyniad; arddangos un o linellau amlycaf y *family* yr ydych. Peidiwch tori eich calon, yr ydych yn perthyn i deulu urddasol iawn; y mae'r prophwydi yn eich llinach chwi.

IV. Y MAE DYODDEF YNGLYN A THEYRNAS NEFOEDD YN WYNFYDEDIG AM EI FOD YN SICRHAU Y CYMHWYSDERAU GOREU I'R DEYRNAS: "Gwyn eu byd y rhai a erlidir o achos

cyfiawnder, *canys eiddynt yw teyrnas nefoedd.*" Nid yn unig y mae dyoddef yn un o farciau'r deyrnas, ond y mae hefyd yn sicrhâu cymhwysderau neillduol i'r deyrnas; y mae yn foddion i addfedu a pherffeithio eu cymeriad.

Y mae crefydd Crist fel careg yr athronydd yn troi pob peth yn aur, hyd yn nod y *material* mwyaf *coarse.* Dim ond dwyn crefydd i gyffyrddiad â dyoddef, y mae yn myned yn wynfyd yn y fan; dim ond dwyn crefydd i gyffyrddiad âg erlid a gwarth, y mae yn eu cyfnewid yn ogoniant ar unwaith. Nid yw yr holl ddyoddef ynglŷn â theyrnas nefoedd ddim ond cyfrwng i ddyrchafu a gogoneddu bywyd y cristion. Geilw allan elfenau cuddiedig (*latent*) yn ei garacter na fuasent byth yn d'od i'r golwg oni b'ai ei fod wedi pasio trwy'r ystormydd.

Ffaith bur awgrymiadol yw fod Crist yn son am ddyoddef ac erlid wedi bod yn son am gymeriad y cristion yn ei wahanol elfenau. Er fod cymeriad y cristion yn meddu ar holl rasusau y gwynfydau, eto un ffordd arbenig i feithrin y grasusau i'w perffeithrwydd a'u gogoniant yw trwy ddyoddef. Dyma y ffordd i roddi addfedrwydd iddynt. Rhyw blanigion wedi ei *dwarfio* fuasai grasusau y cristion heb hyny; rhyw *hothouse plants* wedi eu *forcio* i dyfu nes eu heiddilo. Y ffordd i'w gwneyd yn blanigion cryfion yw trwy adael iddynt ymladd â'r ystormydd. Y mae tuedd mewn bywyd esmwyth gyda chrefydd i feithrin cymeriad eiddil, moethus, *selfish;* rhaid graplo âg anhawsderau i fagu nerth a dewrder. Y mae cymeriad y cristion yn bur debyg i'r *aromatic leaf;* dim posibl cael arogl peraidd o honi pan yn chwyfio yn dawel yn yr awel; rhaid ei dirwasgu cyn y gwna wasgar ei pherarogl. Felly am fywyd y cristion, cyn y ceir sawyr fydd yn perarogli daear a nef, rhaid ei wasgu dan bwysau erlidigaeth, yn aefe a wasgar ei berarogl ar bob llaw. Nid yw yr holl ddyoddef yn ddim ond y *chisel* yn llaw y *sculptor* dwyfol i gerfio allan ei ddelw brydferth ei hun o'r bloc garw;

nid delw oer a marw ddim, ond delw yn llawn bywyd a phrydferthwch.

Yn awr gan fod dyoddef yn gyfrwng perffeithiad bywyd y cristion, a thrwy hyny yn creu cymhwysder ynddo i deyrnas nefoedd, y mae yn wynfydedig. Y mae pethau goreu Duw yn d'od atom yn aml mewn *disguise*. Os cawn ni y fraint rywbryd o wledda angelion, rhaid bod ar ein gwyliadwriaeth rhag i ni eu lletya yn ddiarwybod ac heb eu hadnabod. Fe allai mai fel tri wŷr y gwnant ymddangos i ninnau, fel i Abraham gynt. Yr ydym ninnau fel y dysgyblion gynt ar y ffordd i Emmaus wedi camsynied ein Harglwydd lawer gwaith am ryw ymdeithydd digydymdeimlad, heb deimlo fawr *interest* yn yr hyn oedd yn llethu ein hysbryd. Ond dim ond siarad âg ef am ryw ychydig y mae ein calonau ninnau yn llosgi ynom; dim ond i ni ei *invitio* ef i mewn a thori bara gydag ef, y mae ein llygaid yn cael eu hagor nes gweled nad yw'r ymdeithydd yn neb amgen na'r Iesu yr oeddem yn ei geisio. Felly am yr erlid a'r dyoddef yma, *blessings in disguise* ydynt, ac y mae'r *disguise* yn rhy dew yn fynych i ni allu eu hadnabod.

Y mae dyoddef ynglŷn â theyrnas nefoedd yn wynfydedig gan ei fod yn gyfrwng i berffeithio ein cymeriad; ond nid yma yn unig y mae'r gwynfydedigrwydd, ond yr ochr draw hefyd. "Byddwch lawen a hyfryd, canys mawr yw eich gwobr yn y nefoedd." Y mae Crist, chwi welwch, yn dwyn gobaith am nefoedd a gogoniant i fod yn gymhorth i'n bywyd ar y ddaear. 'Does dim fel gobaith i feithrin amynedd; dyna pam eu cysylltir mor aml. Y cymhelliad cryfaf, mae'n wir, fel y dywed y bardd Cymraeg, yw "zel a chariad at y gwaith;" ac eto y mae cofio am y wobr wedi bod yn galondid i lawer cyn yma, ac hyd yn nod i Grist ei hun i ddal heb *faintio*—edrych ar yr orsedd a'r goron a'r etifeddiaeth wedi dal eu meddwl yn wrol yn nghanol gwarth a gwaradwydd fuasai yn eu lladd oni b'ai hyny.

Rhyw drefn ryfedd yw yr efengyl; er ei bod yn gwbl o ras, nid yw yn cau allan haeddiant a theilyngdod. Gwir fod ein hiachawdwriaeth ni i gyd o ras, eto y mae yma wobrwyo yn ol gweithredoedd. Y mae yma rhyw deimlad dwfn ynom am gael ein gwobrwyo. 'Dyw Crist ddim yn ddibris o'r teimlad yma; yr oedd yn deall y natur ddynol yn rhy dda i hyny. Y mae cymaint o haelfrydedd yn y Brenin yma fel y mae yn canmol ac yn gwobrwyo hyd yn nod yr hyn y mae hawl ganddo iddo. Gwyn dy fyd dithau os wyt yn dyoddef. Y gwynfydedigrwydd yma sydd yn codi oddiar ymlyniad gwrol a gonest wrth grefydd a'i hegwyddorion fyddo yn eiddo i ni oll.

"Mil sy'n dysgwyl, myrdd fydd lawen,
Wel'd fy enaid gwan dan draed
'R hyn i mi fydd ddwfn archoll
Iddynt hwy sy 'n llawn iachâd :
Ond mae d' allu
'N llawer mwy nag uffern fawr.

"Ac er cryfed yw y maglau,
Er cadarned yw y swyn,
Er mor fynych temtasiynau,
Ac er gwaned wyf i'w dwyn;
Ni chaf golli
Dim o'r goron, dim o'r dydd."

# PREGETH XXIII.

## CONDEMNIO PECHOD YN Y CNAWD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. ROBERT JONES, RHOSLAN,*

*Yn Llanbrynmair, yn 1818.*

RHUFEINIAID viii. 3, 4: "Canys yr hyn ni allai y ddeddf, o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd: fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni, y rhai ydym yn rhodio, nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd."

Y MATER y mae Paul yn tystiolaethu am dano yn nechreu y bennod yma ydyw cyfiawnhâd a gwynfyd y gwaredigion. Tystia yn syml ac eglur, "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Nid yw yn dyweyd nad oes llawer o wasgfeuon a blinderau

* Ganwyd yr hybarch ROBERT JONES yn y flwyddyn 1745, mewn lle o'r enw Suntir, yn mhlwyf Llanystymdwy, Sir Gaernarfon, sef ar doriad gwawr Methodistiaeth. Cafodd oes faith, a threuliodd hi yn ngwasanaeth ei Arglwydd. Fel llawer yr oes hono, ychydig a gafodd o fanteision addysg, ond gwnaeth ddefnydd da o'r cŵbl, fel y daeth yn ddyn defnydddiol ac yn awdwr amryw lyfrau gwerthfawr, megys *Drych yr Amseroedd*, &c. Meibion iddo ef ydoedd Samuel a Daniel Jones, Lerpwl, a mab yr olaf ydoedd y Parch. John Jones, Wrexham. Gwnaeth lawer yn ei ddydd gydag addysg y genedl, yn enwedig gydag ysgolion Lady Bevan, at yr hon y cerddodd ddwywaith i'r Deheudir er mwyn ei gweled, a dyma y pryd y gwelodd yr enwog Howell Harris. Dyoddefodd lawer o wawd a dirmyg offeiriaid erlidgar yr oes hono. Pregethwr tra sylweddol a melus ydoedd, fel y dengys y bregeth ganlynol. Gwelsom ei feddrod unwaith yn Llaniestyn, Lleyn. Clywsom fod rhywun wedi rhoddi gorchymyn i adgygyweirio y fan y gorwedd ei lwch cysegredig, a rhoddi beddfaen teilwng o ŵr Duw, yr hyn sydd erbyn hyn wedi ei gyflawni.

i'w cyfarfod yn y byd, ond nid oes dim damnedigaeth uwch eu pen, nac yn eu haros. Yma y mae cystuddiau y gwaredigion; ond cânt adael y cwbl wedi myned i'r ochr draw. Dylem ymchwilio yn ddifrifol pwy ydynt y rhai sydd yn Nghrist Iesu.

Y mae Paul yn ngeiriau ein testun yn dyweyd yn rhyfedd iawn am y ddeddf, deddf yr Arglwydd: "Canys yr hyn ni allai y ddeddf." Y mae yn arwyddo fod pethau nad allai y ddeddf eu gwneyd. Wrth y ddeddf yr ydym i olygu y ddeddf foesol. Y mae hono yn ddeddf gyfiawn, sanctaidd a da. Er ei bod yn wan drwy y cnawd, y mae ganddi waith mawr i'w wneyd yn y byd ac yn yr eglwys; a bydd yn gweithio yn yr eglwys tra pery dyddiau y ddaear. Trwy y ddeddf y mae adnabod pechod. Os am adnabod drwg pechod, dylem astudio y ddeddf. Y mae yn dangos pechod yn ei liw ofnadwy ei hun. Bydd raid i bawb gyfarfod â'r ddeddf rywbryd. Braint ydyw cael marw i'r ddeddf a byw i Grist. Dywedir ei bod yn wan drwy y cnawd. Nid oes dim gwendid ynddi at y gwaith roddodd Duw iddi i'w wneuthur. Ymofynwn a ydym ni wedi bod dan ei thriniaethau. Hawdd adnabod nodau y rhai sydd dan ei thriniaethau. Y maent wedi colli eu bywyd trwyddi, ond wedi ffoi i gael eu bywyd yn Nghrist. Y maent drwy hyny yn parchu ac yn anrhydeddu a mawrhâu y ddeddf. "Danfonodd Duw ei Fab ei hun," ac anfonodd ef ar ddull neu agwedd cnawd pechadurus, "yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus;" ac felly "am bechod, condemniodd bechod yn y cnawd." Myned dan gyfrifiad o'n pechodau ni ddarfu i Fab Duw; a thrwy ei aberth digonol efe a gondemniodd bechod yn y cnawd. Rhoddodd ddigon o iawn er cael ffordd rydd i faddeu. O herwydd ein pechodau yr oedd gan y ddeddf afael arnom ni i'n condemnio; ond dyma Un a ddaeth i'r lladdfa yn ein lle. Rhan o'r swydd gyfryngol, fel Offeiriad mawr, oedd ei aberthu ei hun. "Unwaith yn

niwedd y byd yr ymddangosodd efe, gan ddilëu pechod trwy ei aberthu ei hun; "fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni." Felly y mae trefn y nef yn gallu derbyn y gwaredigion fel pe byddent heb bechu erioed, am fod cyfiawnder y ddeddf wedi ei gyflawni yn aberth Crist. Anrhydeddwn ddeddf yr Arglwydd, a llefwn am y fraint o fod dan ei thriniaethau.

"Cyflawnwyd y gyfraith i gyd,
Fe ddofwyd ei llid heb fy lladd;
Cyfiawnder wrth hir ofyn iawn,
Ei daliad yn gyflawn a ga'dd:
Cyfiawnder a'r gyfraith sy 'n awr
Yn edrych i lawr yn ddi lid;
Mae 'r priodoliaethau mewn hedd,
Yn gwaeddi 'trugaredd' i gyd.'

# PREGETH XXIV.

## PLANT DUW A'U RHAGORFREINTIAU.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN JAMES, PENYBONTAROGWY.*

RHUFEINIAID viii. 14: "Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw."

Y MAE'R apostol yn y bennod hon, yn gystal ag mewn manau eraill yn ei epistol, yn ysgrifenu pethau cysurus iawn am blant Duw. Yr oedd am iddynt gymeryd cysur a dyddanwch wrth feddwl am eu cyflwr, a'r rhagorfreintiau oedd yn perthyn iddynt fel plant; ond nid oedd am i neb dwyllo eu hunain a meddwl eu bod yn blant pan nad oeddynt. Am hyny wrth son am eu cyflwr a'u rhagorfreintiau, mae yn dodi i lawr eu nodau yn gysylltiedig â

* Ychydig a wyddom am y gweinidog parchus hwn, sef y Parch. JOHN JAMES, Penybont, Morganwg, yr hwn a fu farw Mehefin 12fed, 1878, yn 73 mlwydd oed. Yr oedd yn enedigol o Sir Forganwg, a threuliodd ei holl fywyd yno, a'r rhan fwyaf o'i fywyd yn Penybont. Dechreuodd bregethu pan tuag 20 oed, a gwasanaethodd yr Arglwydd o'i febyd. Yr oedd natur wedi ei gyfoethogi â chymhwysderau i'r weinidogaeth. Yr oedd ei ymddangosiad yn brydferth, a'i lais yn soniarus a chwmpasog, ac yr oedd y doniau hyn wedi eu sancteiddio â gras Dwyfol. Yr oedd yn ddyn da, llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân. Er ei fod yn un o bregethwyr penaf y sir, ychydig iawn y bu tu allan i'w therfynau. Bu unwaith ar daith yn y Gogledd gyda y Parch. William Evans, Tonyrefail. Cadwodd ei boblogrwydd hyd y diwedd. Clywsom y diweddar Barch. David Jones, Treborth, yn dyweyd ei fod wedi bod gydag ef yn cynnal amryw gyfarfodydd pregethu pan ar daith yn y sir, na chlywodd bregethwr mwyneiddiach, a llawnach o'r eneiniad nefol, yn ei oes. Cafwyd y bregeth felus hon o'i eiddo ymysg ei lawysgrifau gan ei fab yn nghyfraith, sef y Parch. Hugh Harries, Penybont, yr hwn yn garedig a wrandawodd ar ein cais, am yr hyn y bydd cannoedd yn ddiolchgar iddo.

hyny. Felly y mae yn gwneyd yn yr adnod flaenaf o'r bennod hon. "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu, y rhai sydd yn rhodio nid yn ol y cnawd eithr yn ol yr Ysbryd." "Dim damnedigaeth," dyma un o'r rhagorfreintiau; "yn Nghrist Iesu," dyma'r cyflwr; "y rhai sydd yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd," dyma'r nodau sydd ar y rhai y mae y rhagorfraint yn perthyn iddynt. Mae yn dangos yr un peth yn adnod y testun. "Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw." Y rhai hyn, a dim ond y rhai hyn. Mae yr holl rai ag sydd yn cael eu harwain gan yr Ysbryd yn blant, ac nid oes neb yn blant nad yw dan yr arweiniad. Mae llawer wedi meddwl eu bod yn blant pan nad oeddent, ac y mae hyn yn gamsyniad pwysig, ac a dry yn siomedigaeth dragywyddol. Felly yr oedd yr Iuddewon, fel y mae yr ymddyddan a gymerodd le rhwng Crist a hwy yn dangos. "Ein tad ni yw Abraham," meddent. "Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Pe plant Abraham fyddech, gweithredoedd Abraham a wnaech. Eithr yn awr yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i, dyn a ddywedodd i chwi y gwirionedd, yr hwn a glywais i gan Dduw: hyn ni wnaeth Abraham. Yr ydych chwi yn gwneuthur gweithredoedd eich tad chwi. Am hyny y dywedasant wrtho, Nid trwy butteindra y cenhedlwyd ni; un Tad sydd genym ni, sef Duw. Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Pe Duw fyddai eich Tad, chwi a'm carech i: canys oddiwrth Dduw y deilliais ac y daethum i; oblegid nid o honof fy hun y daethum i, ond Efe a'm hanfonodd i. O'ch tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a fynwch chwi eu gwneuthur. Lleiddiad dyn oedd efe o'r dechreuad; ac ni safodd yn y gwirionedd, oblegid nid oes gwirionedd ynddo. Y mae yr hwn sydd o Dduw yn gwrando geiriau Duw; am hyny nid ydych chwi yn eu gwrando, am nad ydych o Dduw." Mae holl blant Duw yn cael eu harwain gan Ysbryd Duw.

Gair am y plant. Wrth y plant yn y testun y golygir y credinwyr, pa rai sydd blant i Dduw mewn ystyr ragorach ac uwch na phawb eraill, ond priod Fab Duw ei hun. Fe elwir swyddogion gwladol oblegid y llywodraeth sydd ganddynt ar eu cydgreaduriaid, yn feibion y Goruchaf (Psalm lxxxvii. 6). Ac y mae'r angelion yn feibion Duw trwy greadigaeth. Ac y mae gan yr holl hil ddynol ryw le i ofyn, "Onid un Tad sydd i ni oll? Onid un Duw a'n creodd ni" (Malachi ii. 10). "Ei hiliogaeth ef ydym ni. Oblegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod" (Act. xvii. 28). Eto nid oes neb yn blant i Dduw yn yr un golygiad a'r credinwyr. Y maent hwy yn blant i Dduw, am eu bod wedi eu geni o Dduw, ac wedi eu gwneyd yn gyfranogion o'r dduwiol anian, ac wedi derbyn y mabwysiad; hyny yw, wedi cael eu dwyn i deulu Duw, lle y mae rhagorfreintiau plant yn perthyn iddynt, a dyledswyddau plant i'w Tad nefol yn gorphwys arnynt. Y mae mabwysiad yn rhagorfraint fwy goruchel nag oedd yn perthyn i'r cyfammod gweithredoedd, na chwaith i'r un creadur trwy ei greadigaeth. Y mae pob dyn wrth natur yn elyn i Dduw, ymhell oddiwrth Dduw, ac yn blentyn digofaint. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng bod yn blentyn i Dduw a bod yn elyn iddo. Yr wyf yn barod i feddwl nad yw yn bosibl i un creadur fod mewn pellach sefyllfa oddiwrth Dduw na bod yn elyn i Dduw; ac nis gall fod yn nês at Dduw na bod yn blentyn i Dduw. Y mae y credadyn, yn ei undeb â Christ, wedi ei ddwyn yn agosach at Dduw na'r angelion sanctaidd. Gan hyny gwelwn mai peth rhesymol yw i ni chwilio pa un ai plant ai gelynion ydym, a rhoi clust o ymwrandawiad i'r desgrifiad a rydd yr apostol o honynt yn y testun. "Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw." Dau fath o bobl sydd yn y byd, a dau arweinydd, ac nid yw y ddau yn arwain yr un bobl. Os yw tywysog y byd hwn yn dy arwain, y mae yr Ysbryd Glân hyd yma heb

ddechreu dy arwain, oblegid y foment y dechreuo efe dy arwain, y mae yn dymchwelyd gorsedd y cryfarfog yn dy enaid, ac yn cymeryd meddiant o honi ei hunan. Ac er y gall Satan demtio y plant i bechu, eto nid efe yw eu harweinydd hwy; mae efe wedi colli yr awdurdod yn y galon. Fe demtiodd Crist i bechu, ond fe gwrddodd a'i drech y pryd hyn. Atebodd Crist ef, gan ddywedyd, "Ymaith, Satan." Y mae efe mewn modd dichellgar yn ceisio hudo'r plant i bechu, ond fe fedr yr Ysbryd Glân ein harwain i adnabod ei ddichellion ef, a'n nerthu i'w wrthwynebu yn gadarn yn y ffydd. Y mae fel llew ofnadwy, yn rhodio oddiamgylch, gan geisio y neb a allo ei lyncu; ond cyn y gallo lyncu y plant, rhaid iddo lyncu eu Harweinydd. "Yr Arglwydd a adwaen y rhai sydd eiddo ef," ac nis rhydd hwynt i fyny, ac ni lwyr adawa hwynt chwaith. Er i Satan eu ceisio, i'w nithio fel gwenith, eto ni ddiffygia eu ffydd. Ië, "corsen ysig nis tyr, a llin yn mygu nis diffydd, hyd oni ddygo efe allan farn i fuddugoliaeth," sef ei gwbl sancteiddio, a rhoddi llwyr waredigaeth iddo, a'i godi uwchlaw temtasiynau diafol a phechod.

Ond ni a ddeuwn i ymofyn yn fanylach pwy yw ein harweinydd. Ein harweinydd a adwaenir wrth ein ffordd. Y mae pob dyn yn rhodio un o ddwy ffordd; naill ai ffordd cyfiawnder neu ffordd pechod; ac os gan yr Ysbryd Glân ein harweinir, yr ydym yn rhodio llwybrau cyfiawnder, ac yn cilio oddiwrth ffordd y drygionus.

Y mae yr Ysbryd Glân fel arweinydd yn gwneyd tri pheth i'r plant: Mae yn dangos iddynt y ffordd, mae yn tueddu y meddwl i drafaelio y ffordd, ac y mae yn eu nerthu i rodio y ffordd—er nid yn berffaith—yn wyneb pob gwrthwynebiadau ac anhawsderau. Y ffordd y mae'r Ysbryd yn ei ddangos iddynt ydyw ffordd y gwirionedd. Y mae y gair Dwyfol ac esiampl Crist yn rheol allanol i'r plant, ac y mae'r Ysbryd yn arwain eu meddyliau a thuedd-

iadau eu calonau wrth yr un rheol. Y mae cysylltiad agos rhwng y gair dadguddidig ac arweiniad yr Ysbryd. Pan y mae'r Ysbryd yn arwain y pechadur i adnabod Crist, mae yn ei arwain i'w adnabod yn ei air, ac y maent yn cael eu cynnaliaeth o Grist trwy y gair. Mae'r Ysbryd yn dwyn ar gof iddynt y pethau a ddywedodd Crist, ac yn cymeryd o'r eiddo, ac yn ei fynegu iddynt, fel y maent yn cael eu dwyn i fyw i Grist ac nid iddynt eu hunain. Maent yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd. Gan hyny, er mwyn profi pwy yw ein harweinydd, awn "at y gyfraith ac at y dystiolaeth, oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt." Os nad yw ein ffyrdd yn ol y gwirionedd, nid ydym dan arweiniad yr Ysbryd, ond yn rhodio yn y tywyllwch.

Yn bresennol, mi gymeraf y dull canlynol o lefaru oddiwrth y geiriau :

Yn I. NI A GEISIWN DDANGOS FOD Y SAINT YN CAEL EU DWYN I GYFLWR PLANT.

II. CEISIWN DDANGOS FOD DUW YN YMDDWYN TUAG ATYNT FEL TAD AT BLANT ANWYL GANDDO. Ac wrth sylwi ar y pethau hyn ni a gawn gyffwrdd â'u nodau a'u rhagorfreintiau.

I. SYLWN AR GYFLWR Y PLANT. Y maent mewn cyflwr rhydd; y mae y plant yn rhyddion. "Lle y mae Ysbryd yr Arglwydd yno y mae rhyddid." Pan y derbyniasant ysbryd mabwysiad fe'u rhyddhäwyd hwynt oddiwrth bechod, ac fe'u gwnaethpwyd yn weision i Dduw. Y mae rhyddhâu oddiwrth bechod a gwneuthur yn weision i Dduw yn cydfyned yn wastadol: newid y meistr a newid y gwasanaeth hefyd. Pan y byddai plentyn yn cael ei fabwysiadu i deulu, fe fyddai y tad a'i cenedlodd ef yn colli ei lywodraeth arno yn gwbl, ac fe fyddai yn myned dan awdurdod yr hwn a'i mabwysiadodd ef. Ac felly y mae pan y mae'r Arglwydd yn mabwysiadu rhyw un yn blentyn iddo, mae

ei hen dad diafol yn colli pob hawl ac awdurdod arno. Mae yn cael ei droi allan oddiar orsedd ei galon, ac nid yw byth mwy yn ei chael yn wag, fel y gallo gymeryd meddiant o honi. Mae rhyddhâd llwyr o'r hen wasanaeth wedi cymeryd lle.

Y mae wedi ei ryddhâu oddiwrth euogrwydd pechod. Mae yn rhydd o ran ei berson ger bron Duw, "wedi ei gyfiawnhâu yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu." Mae wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd; ac ni ddaw i farn, hyny yw, i farn o gondemniad. Fe ymddengys yn y farn; bydd pawb yno; bydd gelynion a chyfeillion, duwiol ac annuwiol yno; ond fe fydd efe yn berffaith rydd yno, ac fe fydd yn rhydd i bob tragywyddoldeb. Pan y bydd y gwas drwg a'r rhagrithiwr yn cael eu rhwymo yn ysgubau, a'u taflu i'r tywyllwch eithaf, fe fydd ef yn rhydd, yn cael ei gludo ar aden y cwmwl tua'i artref tragywyddol yn nghwmni y Gŵr a'i rhyddhäodd â'i waed ei hun. Y mae y fagl oedd am dano wedi ei thori, nid wedi ei hestyn fel y gwna y diafol â'r rhagrithiwr. Mae y diafol yn estyn y gadwen weithiau fel y mae'r dyn yn medru dyfod i dŷ Dduw, ac i ymarfer â'r holl ordinhadau; ond y mae yn dal gafael ynddo o hyd, ac ar ryw adeg bydd yn cael ei alw yn ol ganddo, oblegid fod y fagl heb ei thori. Ond am y plant, maent wedi dianc o'i afael; mae'r fagl wedi ei thori; maent yn rhyddion oddiwrth euogrwydd a halogrwydd pechod; a'r olaf sydd yn profi y blaenaf, ein sancteiddhâd sydd yn profi ein cyfiawnhâd. Dyma ryddhâd nad yw y plant byth yn edifarhâu o'i herwydd; nid oes arnynt hiraeth ar ol eu hen feistr na'i waith; a'u dymuniad yw na byddo iddynt gael eu rhoddi yn ei law byth mwy. Mi ofynaf un gofyniad cyn gadael y mater hwn; o dan lywodraeth pwy ydym, pwy yw ein meistr? Nid oes *neutral ground* yn bod yma. Y mae pawb naill ai gyda Duw yn erbyn Satan, neu gyda Satan yn erbyn Duw. Os oes yma ryw rai yn bresennol

yn ngwasanaeth Satan, gwell fyddai i chwi roddi arfau i lawr, a newid eich meistr. Caethiwed gwarthus a phoenus yw caethiwed pechod, ond rhyddid gogoneddus yw rhyddid plant Duw. Y mae yn ogoniant mynegol i Dduw yr hwn a'u rhyddhaodd hwynt, ac fe fyddant hwythau yn ogoneddus am byth yn y rhyddid yma. Cyflwr rhydd yw cyflwr y plant.

II. Y MAE DUW YN YMDDWYN TUAG AT EI BLANT FEL TAD TYNER, CAREDIG, A GOFALUS. Os ydym o nifer y plant, y mae Duw yn ymddwyn tuag atom megys tuag at feibion.

1. Trwy drefnu tŷ a chartref cysurus i ni, a'n dwyn yno. "Mi a roddaf le iddynt yn fy nhŷ, ac o fewn fy magwyrydd, ie, ac enw gwell na meibion ac na merched; rhoddaf iddynt enw tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith." Ac y mae yn rhoddi ar feddwl y plant i dd'od i'r tŷ. Pan y maent yn derbyn Ysbryd mabwysiad, mae'r ysbryd hwnw yn ennyn yn y fynwes nid yn unig gariad a hoffder at eu Tad, ond hefyd at eu gilydd. Mae'r plant yn hoff o gwmni eu gilydd. Er eu bod wedi eu gwasgaru yma a thraw ar hyd y byd, maent yn hoff o gyfarfod â'u gilydd yn fynych, ac y maent yn edrych ymlaen gyda phleser at adeg y cyfarfyddiad. Felly am blant Duw, maent yn hoff o gymdeithas eu gilydd, ac y mae eu Tad wedi trefnu ar gyfer cyfarfod y duedd yma sydd ynddynt. Mae wedi darparu tŷ iddynt, sef ei eglwys, lle y maent yn cyfarfod a chymdeithasu â'u gilydd; ac y mae yn rhoddi iddynt le yn y tŷ, nid yn unig rhyddid i fyned i'r cysegr, ond cartref yno ymhlith y teulu. Mae'r eglwys i fod yn artref iddynt, maent i breswylio yno; ac y maent yn hoff iawn o'u cartref, a dyma yw dymuniad calon amryw o honom, "caffael trigo yn nhŷ yr Arglwydd holl dyddiau ein bywyd, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymofyn yn ei deml."

2. Y mae yn trigo fel Tad ymhlith y teulu. Nid trefnu tŷ iddynt a'u gadael yn amddifaid, ond preswylio hefyd yn

eu plith. Maent yn cael mwynhâu ei gymdeithas. "Ai gwir yw y preswylia Duw gyda dyn ar y ddaear?" Ië, eithaf gwir. "Ei babell hefyd sydd yn Salem, a'i drigfa yn Sïon. Canys dewisodd yr Arglwydd Sïon, ac a'i chwennychodd yn drigfa iddo ei hun. Dyma fy ngorphwysfa yn dragywydd: yma y trigaf; canys chwennychais hi." Mae wedi ymrwymo i drigo yn eu plith. Nid wyf yn meddwl fod Duw o anghenrheidrwydd natur wedi dewis rhai o'r hil ddynol i fod yn blant iddo; nid oedd yr un rhwymau arno i ddewis dynion ragor na'r angelion, na rhai dynion rhagor eraill, megys hoffi Jacob a chasâu Esau. Ond fe wnaeth hyn o'i ewyllys benarglwyddiaethol; ac er fod hyn yn gyson â'i natur sanctaidd, eto nid oedd o anghenrheidrwydd natur. Ond wedi iddo eu dewis a'u mabwysiadu ac ymgyfammodi â hwy fel Tad, y mae o anghenrheidrwydd natur yn ymddwyn tuag atynt fel Tad. Gan iddo eu chwennych, fe ddywed, Dyma fy ngorphwysfa yn dragywydd. Y mae'n amlwg ei fod weithiau yn cuddio ei wyneb oddiwrthynt, er dangos ei anghymeradwyaeth i'w hymddygiadau, eto ei dystiolaeth yw, yma y trigaf, yma y gorphwysaf.

3. Y maent yn cael gofal Tad am danynt. Mae fel Tad yn eu cynnal a'u porthi mewn pethau ysbrydol a thymmorol. Mae yn rhagori yn annhraethol yn ei ofal am ei blant ar dadau goreu'r ddaear. "Os chwychwi gan hyny, y rhai ydych ddrwg, a fedrwch roi rhoddion da i'ch plant chwi, pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glân i'r rhai a ofyno ganddo?" Tad hollgyfoethog ydyw; mae ei gyfoeth yn cyfateb i haelionrwydd ei galon; pa beth bynag a ewyllysia fe all ei gyflawni. Un yn cadw tŷ llawn yw ein Tad ni, ac fe lawn ddigonir y plant â brasder ei dŷ, ac âg afon ei hyfrydwch y diodir hwynt. Ni bydd arnynt eisieu dim daioni:

"'D oes yma eisieu byth yn bod,
Trysorau gras yn llawn."

Mae bwrdd yr efengyl yn llawn o bob danteithion i gyfarfod eu hanghenion ysbrydol. Mae yn gofalu am danynt hefyd mewn ystyr dymmorol. "Ei fara a roddir iddo, a'i ddwfr fydd sicr." Mae ei ofal am danynt yn fawr. Nid oes dim yn ormod ganddo ei wneyd er eu hamddiffyn, ac y mae pob peth at ei alwad i wasanaethu arnynt. Er fod ganddo deulu mawr, mae ganddo ddigon i gyfarfod eu hanghenion. Nid yw eu lliosogrwydd yn un rhwystr ar ei ffordd i ofalu am danynt. Gan hyny gwyn fyd preswylwyr y tŷ, oblegid yn wastad y moliannant yr hwn sydd yn cyfanneddu yn moliant Israel.

4. Y mae yn rhoddi addysg plant iddynt, ac y mae'r addysg y mae efe yn ei gyfranu iddynt yn deilwng o'u sefyllfa a'u hurddas fel plant Duw, plant Brenin y breninoedd. Fe ddysgwylir mwy oddiwrth blant breninoedd a mawrion y wlad nag oddiwrth y rhai iselradd; maent i droi mewn cylch uwch a gwahanol; os felly, mae eisieu addysg wahanol arnynt. Felly hefyd fe ddysgwylir mwy oddiwrth blant Duw nag oddiwrth blant y byd; maent i droi mewn cylch uwch ymhlith teulu urddasol y drydedd nef, o ganlyniad mae eisieu rhagorach dysgeidiaeth arnynt. Mae rhagoriaeth y ddysgeidiaeth yn gynnwysedig mewn cael adnabyddiaeth o Dduw yn Dri Pherson, Tad, Mab ac Ysbryd—eu goleuo gyda golwg ar ei briodoliaethau, manylrwydd gofynion ei gyfraith a'u perthynas hwythau â hi, y drefn ogoneddus sydd ganddo i'w hadferu, a'r addoliad a'r gwasanaeth y mae yn ei ymofyn ganddynt. Maent yn cael eu dysgu i synied yn briodol am Dduw. Mae yn rhoddi iddynt feddwl fel yr adnabyddont yr hwn sydd gywir. Nid yn unig wybodaeth noeth am dano, ond dirnadaeth ysbrydol. Fe all fod genym gof a dawn i adrodd am Dduw, ac ar yr un pryd heb syniad ysbrydol am dano, heb gael y meddwl hwnw trwy ba un y gallwn gael adnabyddiaeth lawn am dano, a'r canlyniad yw, yr ydym yn medru ymwneyd â'i ordinhadau mewn modd

ysgafn, oblegid bod yn fyr o'r meddwl sydd yn gweddu i Dduw. Mae y plant yn cael y meddwl hwnw i adnabod Duw fel y mae, ac i'r graddau y byddont yn cynnyddu yn yr adnabyddiaeth o hono, y byddant yn myned yn fwy tebyg iddo; a pho debycaf y byddant iddo, mwyaf abl y byddant i roddi addoliad iddo a fydd yn gymeradwy ganddo.

5. Y mae fel tad yn eu ceryddu hwy. Fel y sylwyd, tŷ a dysgu ynddo yw tŷ yr Arglwydd, a chan fod y plant mor ffôl a thywyll, rhaid eu ceryddu yn fynych cyn y dysgant eu gwersi; ond cofiwn mai yn y tŷ yma y mae yr holl geryddu yn bod, nid oes yr un wïalen yn y trigfanau nefol. Mae rhai yn barnu y bydd y saint yn cynnyddu am byth yn y nef; nis gwn am hyny, ond sicr yw na fydd yno geryddu fel y byddom gyfranogion o'r cynnydd hwn: ond yma y mae ceryddon a gwïalenodiau. Mae y plant yn ddarostyngedig i ddau beth pan yn cael eu ceryddu: yn gyntaf, Dirmygu cerydd yr Arglwydd, neu edrych yn fach arno mewn anystyriaeth a chaledwch: ac yn ail, Ymollwng a digaloni yn wyneb y ceryddon, a meddwl yn gas am Dduw, ac ofni nad ydynt o nifer ei bobl, ac nad yw yn eu caru. Un o'r ddwy ffordd yma yr ydym yn dueddol iawn i fyned. Yn awr, er mwyn ein cadw yn ein lle, mi nodaf bedwar o bethau—dau, fel na ddirmygom gerydd yr Aglwydd, a dau fel nad ymollyngom o danynt. Y mae y ddau beth canlynol yn galw arnom i beidio eu dirmygu: yn gyntaf, Y mae achos i'n ceryddon; nid yw Duw yn ceryddu ei rai anwyl heb achos. Yn ail, Y mae ganddo ddyben neillduol wrth geryddu, sef, fel y byddem gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef. A phe gwelem y dyben nis gallem lai na'i garu a'i barchu yn wyneb y ceryddon. Pa beth gwell a allai Duw ei olygu fel dyben i'n ceryddu, na'n gwneyd yn gyfranogion o'i ddelw ef ei hun? O! paid, gan hyny, a dirmygu y ceryddon, rhag i ti wrth hyny, ddirmygu Duw a'r amcan gogoneddus sydd ganddo mewn golwg.

Yn ail, er mwyn peidio ymollwng a digaloni o dan y ceryddon, ystyriwn ddau beth. Yn gyntaf, Nad yw cariad ein Tad wedi oeri na lleihâu, na newid dim, na'i gyfammod wedi tori, pan yn ein ceryddu. Felly y dywed yn y Salm: "Os ei feibion a adawant fy nghyfraith, ac ni rodiant yn fy marnedigaethau; os fy neddfau a halogant a'm gorchymynion ni chadwant, yna mi a ymwelaf â'u camwedd â gwïalen, ac â'u hanwiredd â ffrewyllau." Wel, os ydyw yn eu caru y mae yn rhyfedd na b'ai yn eu harbed, heb sylwi arnynt mor fanwl. O na, ei gariad tuag atynt oedd yn dwyn allan y fflangell. Yr un cariad ag oedd yn ei gymhell i faddeu iddynt eu holl anwireddau yn rhad, er eu rhyddhâu oddiwrth euogrwydd pechod, sydd yn ei gymhell i'w ceryddu er eu glanhâu oddiwrth halogrwydd pechod. "Canys y neb y mae yr Arglwydd yn ei garu, y mae yn ei geryddu; ac yn fflangellu pob mab a dderbynio." Ond rhag iddynt ymollwng o dan y ceryddon, mae yn dywedyd yn gysylltiedig â hyny: "Ond ni thoraf fy nhrugaredd oddiwrtho, ac ni phallaf o'm gwirionedd." Blentyn Duw, paid a digaloni o dan y ceryddon; os bydd hi yn dywyll ar dy feddwl, y mae cwmni siriol gerllaw. Y mae trugaredd yn penderfynu bod gyda thi: "Ni thoraf fy nhrugaredd oddiwrtho," ac ymhellach, "Ni thoraf fy nghyfammod, ac ni newidiaf yr hyn a ddaeth allan o'm genau." Mae newid ar oruchwyliaethau llaw Duw tuag at ei blant; ond, nid oes newid ar yr hyn a ddaeth allan o'i enau. Mae wedi dyweyd "Mi a fyddaf yn Dad i chwi, a chwithau a fyddwch yn feibion ac yn ferched i mi," ac y mae hyn yn para yn ddigyfnewid. "Ni newidiaf yr hyn a ddaeth allan o'm genau." Mae Sïon weithiau yn ei thywyllwch yn tueddu at newid yr hyn a ddaeth allan o enau Duw, megys yn y geiriau hyny, "Cuddiwyd fy ffordd oddiwrth yr Arglwydd, a'm barn a aeth heibio i'm Duw." Ond wele yr Arglwydd yn amddiffyn ei hun ar unwaith, ac yn dywedyd, "Oni wyddost, oni chlywaist, na ddiffygia, ac

na flina Duw tragywyddoldeb, yr Arglwydd, Creawdwr cyrau y ddaear? Ni ellir chwilio allan ei synwyr ef. Yr hwn a rydd nerth i'r diffygiol, ac a amlhâ gryfder i'r dirym." Mewn man arall y dywedodd Sïon: "Yr Arglwydd a'm gwrthododd, a'm Harglwydd a'm hanghofiodd." Ond er mwyn eu cysuro, fe ddywed yr Arglwydd wrthynt, "A anghofia gwraig ei phlentyn sugno, fel na thosturia wrth fab ei chroth? Ië, hwy a allant anghofio, eto myfi nid anghofiaf di. Wele, ar gledr fy nwylaw y'th argreffais: dy furiau sydd ger fy mron bob amser." Er mor dywyll fyddo'r oruchwyliaeth, mae'r hen gyfammod yn dal, a'i gariad tuag atom yr un. Gan hyny, blant yr Arglwydd, llefwn am adnabod ei ffyrdd ef, ac ymostyngwn dan ei alluog law, fel y'n dyrchafer mewn amser cyfaddas.

6. Mae fel Tad yn darparu etifeddiaeth iddynt. "Os plant, etifeddion hefyd, sef etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ." Maent i fwynhâu yr un hapusrwydd, anrhydedd, a gogoniant a Christ ei hun. Duw ei hun yn ei gyfoeth anfeidrol yw etifeddiaeth y plant. Mae yn rhoddi ei hun yn Dduw iddynt, ac y mae hyn yn cynnwys pob peth. Maent hwythau yn gorfoleddu yn eu rhan, a hyny yn niwedd y dyddiau, pan yn marw, oblegid ni chollant byth eu hetifeddiaeth. Pan y mae dynion y byd yn marw, maent yn gorfod gollwng gafael yn eu hetifeddiaethau, am ba rai y darfu iddynt ymdrechu mor galed. Ond pan y mae y dyn duwiol yn marw, mae yn dal gafael yn ei ran yn gadarnach nag erioed. Dyma fel yr oedd Dafydd: "Pallodd fy nghnawd a'm calon, ond nerth fy nghalon a'm rhan yw Duw yn dragywydd." Jeremïah a ddywedai, "Yr Arglwydd yw fy rhan i, medd fy enaid." Nis gallasai Duw ddarparu mwy ar ein cyfer nag efe ei hun, ac y mae efe yn ddigon digon byth. Mae yn cynnwys y nef yn ei gogoniant, a'i dedwyddwch yn gartref iddynt—etifeddiaeth anllygredig, dihalogedig, a diddiflanedig, ïe, pob peth er eu digoni a'u dedwyddu am

byth. Na fydded neb o honom yn foddlawn i fod heb y Duw hwn yn rhan i ni.

Dau gasgliad. Yn 1. "Gwelwn pa fath gariad a roddes y Tad arnom, fel y'n gelwid yn feibion i Dduw"—dwyn rhai mor wael a ni i'w deulu, a'n gwneyd yn blant iddo. Y mae hwn yn fath gariad, mi dybygwn, nad oes ganddo ei debyg at neb o'i greaduriaid eraill. Y maent wedi eu caru yn Nghrist, ac fel Crist. "A charu o honot hwynt, megis y ceraist fi." O ryfedd gariad! ac nid oes ar y Tad gywilydd ein harddel fel ei feibion, nac ar y Mab gywilydd ein galw yn frodyr. Myfyriwn ar y cariad yma, a mawrhawn y fraint sydd wedi ei rhoddi i ni.

2. Bydded i hyn genedlu awydd ynom i fod yn ddilynwyr Duw fel plant anwyl. Ei ddilyn trwy ei garu, a dymuno bod yn debyg iddo, ac ymgadw oddiwrth bob peth croes iddo. "Eithr godineb a phob aflendid neu gybydddra, na enwer chwaith yn eich plith, megys y gweddai i saint; na serthedd, nac ymadrodd ffôl, na choeg-ddigrifwch, pethau nad ydynt weddus." Eithr gwisgwn am danom y gwisgoedd sydd yn gweddu i etholedigion Duw, sanctaidd ac anwyl. Gan fod Duw wedi gosod y fath anrhydedd arnom, rhodiwn ninnau yn deilwng o'r anrhydedd hwnw, gan gymeryd ein harwain gan Ysbryd yr Arglwydd.

"Cyfammod hedd, cyfammod cadarn Duw,
Ni syfl o'i le, nid ïe a nage yw:
Cyfammod gwir, ni chyfnewidir chwaith;
Er maint eu pla, daw tyrfa i ben eu taith.

"'D oes bwlch yn hwn—fel modrwy 'n grwn y mae;
A'i glwm mor glos, heb os ac oni bae:
Nid all y plant ddim gwerthu eu meddiant mwy;
Mae gan Dduw gylch, a'u deil, o'u hamgylch hwy."

## PREGETH XXV.

### Y TECACH NA MEIBION DYNION.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN ROBERTS, LLANGWM.*

*Mewn Cymdeithasfa yn Machynlleth, Awst 25, 1820.*

SALM xlv. 2: "Tecach ydwyt na meibion dynion: tywalltwyd gras ar dy wefusau; o herwydd hyny y'th fendithiodd Duw yn dragywydd."

Y MAE y geiriau hyn yn rhan o gyffes yr eglwys dan yr Hen Destament. Y mae yr eglwys wedi bod yn dywedyd tipyn o'i chyffes ymhob oes a than bob goruchwyliaeth, ac y mae tipyn o'i chyffes yn o fyr yn cael ei amlygu yn yr oes yma; a dyna sydd ganddi yn ei chyffes—Gwrthddrych mawr ei chred a'i hymddiried am byth. Y mae gogoniant a bri y Salm hon yn rhy uchel i'w briodoli i neb ond i'w Gwrthddrych mawr ei hun. Y mae rhai wedi bod yn ceisio cymhwyso y Salm hon at briodas Solomon a merch

* Ganwyd y Parch. JOHN ROBERTS Awst 8fed, 1753, mewn lle o'r enw Blaenygarth, Nantlle, plwyf Llandwrog, Swydd Gaernarfon. Ymunodd â chrefydd yn ieuanc yn Llanllyfni, a dechreuodd bregethu pan yn 28 oed. Bu yn dra defnyddiol fel ysgolfeistr, ac yn enwedig fel gweinidog yr efengyl am oes faith. Yr oedd yn frawd i'r seraph dysglaer o Glynnog, sef Robert Roberts, ac yn dad i Michael Roberts, y pregethwr a swynai pawb a'i gwrandawai. Y Parch. John Roberts ac Evan Richardson a bregethasant gyntaf gyda y Methodistiaid yn Nghaernarfon yn y flwyddyn 1786, a gŵyr pawb o'r Cymry y ffrwyth toreithiog ddilynodd y ddwy bregeth hyny. Yr oedd yn ŵr mawr yn y Cymanfäoedd. Mewn hen ysgrif gwelsom yn ddiweddar ei fod yn pregethu y nos olaf yn Nghymanfa fawr Caernarfon yn 1818. Dengys y bregeth hon o'i eiddo mai nid dyn cyffredin ydoedd. Bu farw yn Llangwm mewn henaint teg, ac yn gyflawn o ffydd yr efengyl.

Pharaoh, ond nid oes neb ond Crist Iesu yn unig all ateb i ddarluniad y Salm. Dyna ydyw y Salm, tystiolaeth yr eglwys dan yr Hen Destament am Grist. Iaith dyn duwiol ydyw y geiriau, a iaith dyn duwiol pan fyddo wedi dyfod i adnabyddiaeth o'i Wrthddrych. "Traetha fy nghalon beth da: dywedyd yr ydwyf y pethau a wnaethum i'r Brenin." Y mae rhyw beth da neillduol gan bob gwir gristion i'w draethu am Grist ei Frenin. Y pethau yn berwi ynddo am gael eu traethu oedd y pethau am ei Frenin. Yr oedd ei enaid fel crochan yn berwi gan nerth y tân oedd ynddo. Y mae y pethau sydd gan y dyn duwiol i'w dywedyd am Grist yn berwi allan gan rym y tân cariad sydd yn ei galon. Yr oedd gau addolwyr yn amser Esaiah yn nesâu at Dduw â'u genau, ac yn ei anrhydeddu â'u gwefusau, ond yn pellhâu eu calon oddiwrtho; ac yr oedd eu hofn tuag ato wedi ei ddysgu allan o athrawiaeth dynion. Ac yr oeddynt yn amser Ezeciel yn eistedd o'i flaen fel ei bobl, ac yn gwrando ei eiriau, ond heb eu gwneyd: â'u geneuau y dangosent gariad, tra yr oedd eu calon yn myned ar ol cybydd-dod. Peth yn cyrhaedd y galon ydyw aileni; saethau argyhoeddiad yn y fynwes, geni drachefn, symud o deyrnas Satan i deyrnas y Duw byw. A dyma y peth sydd ganddo i'w ddywedyd am Grist, ac y mae yn ei ddywedyd o'i galon. Y mae cyfnewid y galon yn peri cyfnewid yr holl fuchedd. "Yr hwn sydd yn gwrando fy ngeiriau ac heb eu gwneuthur a gyffelybir i ŵr ffol, yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar y tywod; a'r gwlaw a ddisgynodd, a'r llifddyfroedd a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a gurasant ar y tŷ hwnw, ac efe a syrthiodd, a'i gwymp a fu fawr." Beth oedd yr achos o'i gwymp? Y llif a ddaeth dan ei sylfaen. Cwymp mawr gaiff tŷ y rhai sy'n adeiladu eu crefydd heb fod ar y sylfaen. "Yr hwn sydd yn gwrando fy ngeiriau ac yn eu gwneuthur, mi a'i cyffelybaf ef i ŵr doeth, yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar y graig; a'r gwlaw a

ddisgynodd, a'r llifeiriaint a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a ruthrasant ar y tŷ hwnw, ac ni syrthiodd; oblegid sylfaenesid ef ar y graig." Dyna beth ydyw crefydd. Gwrando a gwneuthur. Rhaid gwneuthur yn gystal a gwrando. Nid oes dim modd gwrando geiriau Crist a gweithio i'r diafol. Cymysgedd gwarthus fyddai hyny. Canmol Iesu, a dyweyd yn yr ymddygiad mai gwasanaeth Satan ydyw y goreu! Achwyn ar y diafol, ac eto rhoddi y cyfan o'r ufudd-dod iddo! Nid dyna beth ydyw gwir grefydd. Ond beth y mae yr enaid yn ei wneuthur i'r Brenin. Yr oedd calon y Salmydd, pan yn ysgrifenu y geiriau, yn berwi ynddo o awydd i fynegu y pethau a wnaethai i'r Brenin. Yr oedd calon yr eglwys yn llawn o gariad at y Brenin; ac yna y mae yn dyweyd ei chyffes a'i theimlad, "Tecach ydwyt na meibion dynion: tywalltwyd gras ar dy wefusau; o herwydd hyny y'th fendithiodd Duw yn dragywydd."

Y mae y testun yn dair rhan:

I. TEGWCH YR ARGLWYDD IESU.

II. Y GRAS SYDD AR EI WEFUSAU.

III. EI FENDITHIO YN DRAGYWYDD.

I. TEGWCH A RHAGOROLDEB PERSON MAB DUW AR BOB PETH AC AR BAWB ARALL YN Y NEFOEDD NAC AR Y DDAEAR, a fu, nac y sydd, nac a ddaw byth. Rhaid ei fod yn fwy ei degwch na neb na dim, gan ei fod yn decach na meibion dynion. Y mae gogoniant mawr yn perthyn i feibion dynion, ond dyma Un mwy rhagorol na hwynt oll. Person anfeidrol ydyw. Y mae yn Dduw ac yn ddyn. Y mae yn decach na meibion dynion. Y mae ei natur ddynol mewn undeb â'i natur Ddwyfol. Y mae yn wir Dduw bendigedig yn oes oesoedd; ac felly y mae yn uwch na meibion dynion. Y mae yn decach ac yn gyfoethocach na meibion dynion; ac eto y mae yn gallu ymostwng i ddyfod at feibion dynion i'w codi o gyrhaedd y felldith. Gwrth-

ddrych i blant dynion geisio nesu ato ydyw er ei fod mor uchel. Er ei fod yn decach a mwy na meibion dynion, y mae wedi cymeryd achos meibion dynion arno ei hun; ac y mae wedi rhoddi ei air a'i lw tragywyddol y bydd iddo eu codi.

Y mae yn decach na meibion dynion yn ei swyddau—Prophwyd, Offeiriad, a Brenin. Y mae yn decach na meibion dynion fel Prophwyd. Codwyd llawer o brophwydi o fysg meibion dynion, ond dyma Un tecach a rhagorach na hwynt oll. Codwyd llawer offeiriad o fysg meibion dynion, ond dyma Un tecach na hwynt oll. Codwyd llawer o freninoedd enwog a defnyddiol o fysg meibion dynion, ond dyma Un tecach na hwynt oll. Yr oedd Moses yn brophwyd mawr ac enwog, ond dyma Un mwy na Moses. Am yr holl brophwydi ac offeiriaid, gellir dywedyd, "Lluddiwyd iddynt gan farwolaeth barhâu;" ond am hwn gellir dywedyd, "Y mae i ni Archoffeiriad mawr ar dŷ Dduw," tecach na hwynt oll; "yr hwn a aeth i mewn i'r cysegr, drwy ei waed ei hun, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd." Sïon a'i pïa ef, a thecach yw na meibion dynion. Yr eglwys a'i pïa ef, ac yntau a bïa yr eglwys. Yn ei frenin-iniaeth hefyd tecach ydyw na meibion dynion. Y mae yn rhagori ar yr holl archoffeiriaid fu erioed. "Nid oes i ni Archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef â'n gwendid ni, wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud a ninnau, eto heb bechod; ac yn gymaint a dyoddef o hono ef gan gael ei demtio, efe a ddichon gynnorthwyo y rhai a demtir." Pwy ydyw ef? yr hwn a demtiwyd. Pwy yw Sïon? y rhai a demtir. Pwy yw ei ddyweddi? Yr hon a demtir. Fel Brenin hefyd, Brenin breninoedd ydyw. Brenin a deyrnasa yn dragywyddol ydyw; Brenin anfarwol, Brenin yn ei degwch. A gollodd efe erioed mo'i degwch? Naddo. Ai Brenin yn ei degwch oedd pan heb fodd i dalu y deyrnged? Ië. A gollodd efe ei degwch? Naddo; daeth pysgodyn

o lyn Gennesaret i dystio hyny. Ai Brenin oedd efe pan ar Galfaria? Ië. A gollodd efe ddim o'i degwch pan yno? Naddo. Bu farw yn ei gariad, a daeth i fyny o'r bedd yn ei gariad a'i ogoniant.

II. "TYWALLTWYD GRAS AR DY WEFUSAU." Tywalltwyd y gras er dangos y cyflawnder o ras oedd yn y Duwdod, a thywalltwyd y gras ar ei wefusau er dangos mai gras fydd y gwleddoedd i Sïon. Beth ydyw ei efengyl ond dangosiad o ras? "Deuwch ataf fi bawb a'r sydd yn flinderog ac yn llwythog, ac mi a esmwythâf arnoch." Beth yw ymadroddion felly ond y gras oedd ar ei wefusau? Pan oedd yn dywedyd wrth ei bobl, "Wele fi yn agor eich beddau, codaf chwi hefyd o'ch beddau, a dygaf chwi i dir Israel,"—beth oedd hyny? Gras oedd ar ei wefusau. Cafwyd llawer o ras o'i wefusau, a cheir llawer eto. Pan oedd yn addaw y Dyddanydd arall, a phan yn dywedyd ei fod yn myned i barotoi lle iddynt, ac y byddai gyda hwy bob amser,—beth oedd hyny ond y gras oedd ar ei wefusau?

III. "O HERWYDD HYNY Y'TH FENDITHIODD DUW YN DRAGYWYDD." Bendithion i gyd oll sydd gan Iesu, ac y maent yn fendithion tragywyddol. Ynddo ef y mae pethau i'w cael a bery byth. Y mae ei fendithion yn sylwedd; pethau sylweddol ydyw pethau crefydd; ac hefyd y Sylwedd mawr ydyw Crist ei hun; ac y mae yn llefaru gras wrth ddynion. "Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd." Bendithion felly sydd gan Iesu i'w cyfranu, bendithion a ddeil ymhob amgylchiad, bendithion a bery byth.

"Uwch meibion dynion tecach wyt,
Tywalltwyd rhad i'th enau,
Herwydd i Dduw ro'i arnat wlith
Ei fendith byth a'i radau."

# PREGETH XXVI.

## NERTH YN OL Y DYDD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. DAVID ROWLANDS.

*Yn Nghymdeithasfa Llanidloes, Ebrill 18, 1822.*

DEUTERONOMIUM xxxiii. 25: "Haiarn a phres fydd dan dy esgid di; a megys dy ddyddiau y bydd dy nerth."

Y MAE yn amlwg fod y geiriau hyn wedi cael eu llefaru gan Moses pan oedd yn min dianc o'r holl stormydd y bu ynddynt yn ei daith ofidus gydag Israel yn yr anialwch. Y mae yn y bennod hon yn debyg fel yr oedd Jacob pan ar ei glafwely yn agos i farw, yn galw ei blant o'i gwmpas, ac yn eu bendithio bob un ar ei ben ei hun, ac wedi hyny yn tynu ei draed i'w wely i farw. Felly y mae Moses yma yn bendithio llwythau Israel; ac yn eu plith dywed am Aser eiriau ein testun.

Mab i Jacob o Zilpah, llawforwyn Leah, oedd Aser; ac er ei fod yn fychan iawn yn ei wreiddyn, eto efe a gynnyddodd yn ddirfawr. Cynnyddodd ei rifedi yn yr Aipht i un fil a deugain a phum' cant, ac yn yr anialwch yr oedd yn dair mil

* Nid oes genym eto ond cyfeirio y darllenydd at Gofiant llawn a difyr Dafydd Rolant—cyfeirir yno at y bregeth hon o'i eiddo, y byddai yn ysgrifenu yn y *Dyddiadur* ar ol ei phregethu, "*euorn*," sef pregeth yr haiarn a phres. Dyna y cofnodiad am dani, a da iawn fydd gan lawer o'i edmygwyr ei chael bob gair fel y traddododd hi. Clywsom un yn dyweyd, mai y bregeth fwyaf effeithiol a glywsant ganddo erioed oedd hono ar y drydedd salm ar hugain, tuag adeg diwygiad cyntaf Beddgelert. Gorfoledd bron yn ddibaid oedd yn canlyn ei thraddodiad.

a deugain a phedwar cant; a phan eneiniwyd Dafydd yn frenin yr oedd yn ddeugain mil o wŷr grymus, addas i fyned i ryfel. A dyma fel y mae Moses yn dywedyd, "Bendithier Aser â phlant, bydded gymeradwy gan ei frodyr, ac efe a wlych ei droed mewn olew; haiarn a phres fydd dan dy esgid di, a megys dy ddyddiau y bydd dy nerth." Prophwydo yr oedd Moses mewn pa fath le y byddai y llwyth yma yn preswylio ar ol myned i wlad Canaan, sef ar dir o fwnau haiarn a phres. Y mae rhai â mwnau copr dan eu traed, eraill plwm, eraill arian, eraill aur; ond dyna oedd dan draed y rhai hyn, "haiarn a phres." Y mae yn amlwg hefyd ei bod yn wlad gynnyrchiol iawn o ŷd a gwin ac olew: "Efe a wlych ei draed mewn olew. Haiarn a phres fydd dan dy esgid di," neu fel y mae'r geiriau yn yr iaith Saesoneg, "Haiarn a phres fydd dy esgidiau." Y mae rhai hefyd yn darllen y rhan hyny o'r adnod, "a megys dy ddyddiau y bydd dy nerth" fel hyn,—"Megys dy anghen y bydd dy ddigon." Y mae yma ddwy ochr i'w gweled yn y geiriau, sef tlodi mawr pechaduriaid, ond fod digonoldeb wedi ei ddarparu ar eu cyfer, "megys dy anghen y bydd dy ddigon." Dyna un ddyfais sydd gan y cythraul, sef ceisio dy rwystro i weled dy ochr ddu dlawd dy hun; a phan y bydd dynion yn dechreu gweled eu hanghen, newidia ei ffordd er ceisio ei rhwystro i weled dim arall. Gweddïwch am gael teimlo eich hanghen tra y mae digon ar eich cyfer, ac yna wedi teimlo yr anghen bydd yn dda genych glywed am y digonedd sydd ar ei gyfer. Y syndod yw na b'ai dynion yn teimlo mwy yn wyneb eu hanghen mawr.

Arwydda y geiriau, "haiarn a phres fydd dan dy esgid di, a megys dy ddyddiau y bydd dy nerth," yn

I. MAI DYDDIAU CALED A LLWYBR GARW SYDD GAN Y GWIR GRISTION PAN AR EI YRFA YMA AR Y DDAEAR.

II. YR HYN SYDD YN ADDASU Y CRISTION I WYNEBU AR EI DDYDDIAU CALED A'I LWYBR GARW: cael haiarn a phres dan

ei esgid. Gwyliwch gychwyn y daith heb gael yr esgidiau haiarn a phres.

III. Ymha ystyriaethau y mae nerth plant Duw fel eu dydd.

IV. Y mae yn well i'r Cristion fod ei nerth fel ei ddydd, heb fod ddim yn llai na'i ddydd, nac ddim yn fwy na'i ddydd. Ystyria, gredadyn, pe cait dipyn dros ben o nerth, ni byddai dim trefn arnat; a phe caet dipyn llai ti fyddit i lawr mewn anobaith; ond y mae yr addewid yn felus a gwerthfawr iawn, "Megys dy ddyddiau y bydd dy nerth." Os cai boen mawr, a nerth mawr i'w ddyoddef, ni bydd dim niwed. Os cai groes drom a nerth mawr i'w dwyn ti äi ymlaen yn gysurus.

V. Yr achos paham yr aeth dydd llawer yn drech na hwy.

I. Mai dydd caled a llwybr garw sydd gan y Cristion yn y byd hwn.

Y mae'n wir nad oes dim anghysur mewn crefydd ynddi ei hun; ond cysur i gyd ydyw. Y mae llawer yn meddwl mai gan yr annuwiol y mae y llawenydd i gyd oll, ond nid felly y mae. Gan bobl y grefydd y mae y gwir lawenydd. Ond cofia, enaid, os cai di grefydd iawn, y tyni holl gythreuliaid uffern yn dy ben, ac y cei dywydd garw; ac felly dydd caled iawn yw dydd y cristion yn aml yn byd hwn.

1. *Dydd argyhoeddiad.* Ystyria os nad yw y dydd hwn, neu y peth hwn yn iawn yn dy grefydd, nad oes dim yn iawn ynddi. Dydd caled iawn yw dydd yr argyhoeddiad: dydd agoriad y llygaid i weled y cyflwr peryglus yr ydys ynddo,— pan y daeth i'r golwg nad oedd dim ond yr anadl sydd yn dy ffroenau rhyngot a thragywyddol ddystryw. Ië, medd ambell un, y mae y dydd hwnw yn gwneyd cyflwr dyn yn waeth nag oedd. O nac ydyw. Y mae yn dangos y cyflwr fel y mae. Dangos iddo y farn y mae. Difa y gorchudd er iddo gael gweled pa fodd y mae rhyngddo a'i Greawdwr.

Ond er mai dydd caled iawn ydyw dydd yr argyhoeddi, dydd anhawdd iawn i natur ei ddal, eto trugaredd fawr ydyw ei gael. Byddai yn drugaredd fawr symud y gorchudd yn awr bob yn dipyn, yn lle ei godi oll ar unwaith yn angeu, a'r Ceidwad heb fod yn y golwg. Nid oes ond ychydig iawn rhwng y dyn mwyaf annuwiol a sobri. Y mae yna ddefnyddiau sobri y mynyd yma yn dy enaid dan farn Duw. Ond er mor lleied sydd rhwng llawer annuwiol a sobri, nid oes ond difa y llen all wneyd hyny. Ni fedr y pregethwr ddim gwneyd hyny. Gobeithio nad oes yma neb fydd ar wely angeu, a'r gorchudd yn cael ei symud yn sydyn ar unwaith, a'r Ceidwad o'r golwg ac o'r cyrhaedd. Braint ydyw cael codi y cauad, a symud y gorchudd yn awr, bob yn dipyn, a dangos y Ceidwad bob yn ail. Felly bydd difa y gorchudd yn elw mawr; ac er mai dydd caled fydd, bydd yn drugaredd werthfawr ei gael. Ni bydd modd byw i Dduw a marw i'r ddeddf hebddo.

2. Dyna ddydd arall na ŵyr neb am dano ond y duwiol, a dydd caled iawn ydyw, *sef dydd y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr ysbryd, a'r ysbryd yn erbyn y cnawd, a'r ddau hyn yn gwrthwynebu eu gilydd.* Y mae yr annuwiolion yn myned i lawr i gyd ar hyd yr un ffordd esmwyth; ond nid felly y duwiol. Y mae y cnawd yn tynu i lawr, a gras yn tynu i fyny; a'r ddau o hyd yn gwrthwynebu eu gilydd. Ti fuost pan nad oedd dim o'r croesdynu hyn, ac yr oedd yn fyd tawel arnat y pryd hyny; ac ni orphwysi nes y bydd hi felly eto, a gras wedi ennill ei ffordd. Ti fuost pan nad oedd ond cnawd a llygredd yn unig ynot; ti weli fore eto na bydd ond gras yn unig ynot. Hi fu yn fyd garw arnat pan oeddit yn dechreu ar dy grefydd i geisio troi allan y cnawd, ond y mae yna eto; ond y mae amser i dd'od y cei ei adael yn llwyr.

3. *Dydd sefyll yn erbyn cynllwynion y diafol.* "Nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd yn unig, ond

yn erbyn tywysogaethau ac awdurdodau a drygau ysbrydol." Byddaf yn meddwl fod y diafol yn fwy mileinig wrth blant Duw nag wrth ei blant ei hun; oblegid gwna fwy o ddefnydd o un o blant Duw wedi ei hudo o'i le nag a wna o gant o'i blant ei hun; a byddai yn dda i blant Duw gofio mor fileinig y mae y diafol yn eu herbyn. Y mae y diafol yn gyfrwys iawn yn ei gynllwynion. Y mae yn chwilio o ba deulu a thymher ydwyt; os caiff ryw un o duedd ysgafn, ymdrecha ei yru i ryfyg; ond os caiff ryw un o dymher isel, ceisia ei yru i'r ochr arall, sef i anobaith.

4. *Dydd profedigaethau a chroesau a gofidiau.* Dyna fel y dywedodd Blaenor mawr yr eglwys, "Yn y byd gorthrymder a gewch." Ni ddylit weddïo am lai o dywydd, ond am nerth i ddal y tywydd. Ni ddylit weddïo am lai o lif, ond y mae croesaw i ti weddïo am nerth i beidio boddi ynddo. Ni ddylit weddïo am lai o dân, ond dylit weddïo am fendith arno i dy buro. Ac ni waeth i bererin ddim rhyw lawer pa fodd y caiff hi ar ei daith. Pan fyddo pererin yn myned trwy wlad, pe byddai i rywun mewn rhyw fan wenu arno, ni hidiai ddim llawer am hyny, ond dywedai, Nid yma i mi. Hefyd pe byddai i rywun wgu arno, a rhoddi rhyw enw drwg iddo, ni hidiai rhyw lawer am hyny, ond dywedai, Nid yma i mi. Pe rhoddid rhai sydd yma yn fy ngwrando yn y lle goreu ar y ddaear, ni byddai ond anialwch iddynt; ac os rhydd y byd i chwi ambell i ddyrnod, na hidiwch ryw lawer, ond ymlaen â chwi tua'ch gwlad.

5. *Dydd erlidigaeth*, yr hwn fu ar eglwys Dduw lawer gwaith. Bu mor galed ar lawer o'r hen dadau nes yr oeddynt yn gorfod rhoddi eu cyrff i'w llosgi; ac yr oedd rhai yn gallu gwaeddi, Gwnewch fel y mynoch â ni, nid ellwch ddwyn y Dyddanydd oddiarnom. Beth oedd ganddynt i'w dal mor gryf? Haiarn a phres oedd dan eu hesgidiau. Mae'n debyg na ddaw byd felly byth i'n cyfarfod ni; ond er hyny, gadewch i ni gael pob peth yn barod.

Er mor arw oedd hi ar yr hen ferthyron, nid oedd crefydd ddim yn rhy ddrud yr amser hwnw. Pe buasid yn gofyn i William Tyndale, yr hwn gafodd ei losgi am gyfieithu y Bibl, a oedd hi yn ddrud? Na, na, atebasai yn union, yr oedd digon o newid arni. Nid oes dim yn y byd a chymaint o newid arno a gwir grefydd.

6. *Dydd bod gyda dyledswyddau crefydd a Duw yn ymguddio:* bod gyda'r ordinhadau yn yr addoldŷ a Duw yn cuddio ei wyneb. Gweddïo, ac heb wybod a yw Duw yn gwrando ai nad ydyw. Cadw y drws yn nhŷ Dduw pan y mae yn nos. Y mae yma rai wedi penderfynu pe byddai raid cadw y drws yn y nos am gan' mlynedd, y byddai digon o newid ar hyny. Y mae llawer yn barod i waeddi gyda'r hen Habacuc, "Safaf ar fy nysgwylfa, ac ymsefydlaf ar y tŵr, a gwyliaf i edrych beth a ddywed efe wrthyf, a pha beth a atebaf pan y'm cerydder." Llefwn am gymhorth i bwyso ar addewid Duw.

7. *Dydd marwolaeth.* Dydd caled iawn i natur yw dydd marwolaeth. Yr oedd meddwl am farw mor drwm i natur Paul dduwiol fel i bobl eraill. Nid oedd ef ddim yn chwennych marw fel yr oedd ynddo ei hun, ond dyna yr hyn oedd yn ei chwennych wrth sôn am ddattodiad ei ddaearol dŷ, cael ei arwisgo â'r tŷ sydd o'r nef. Byddaf yn meddwl y bydd rhyw ymddyddanion rhyfedd rhwng yr enaid a'r corff yr amser hwnw. Yr enaid yn dywedyd wrth y corff, Buom mewn llawer bwlch cyfyng, ond ni buom erioed mewn bwlch mor gyfyng a hwn. Buom yn cael ein taflu yn ol ac ymlaen, ac i lawr ac i fyny; ond yr oeddym yn gallu dal gyda'n gilydd; ond dyma ni mewn bwlch y rhaid i ni ymado â'n gilydd. Ond ni waeth gan y duwiol ddim llawer am hyny! Bydd marw yn elw iddo. Ond, beth am yr annuwiol!

II. Yr hyn sydd yn addasu y duwiol i wynebu y dyddiau caled hyn: cael haiarn a phres dan ei esgidiau.

Y mae y pethau canlynol gan y Cristion fel haiarn a phres dan ei esgidiau,

1. *Undeb â Mab Duw.* Yr undeb y mae yr anian newydd yn roddi yn ei enaid. Peth ofnadwy ydyw ceisio crefydda heb undeb â Mab Duw. Os felly, ni thâl dy grefydd ddim, ddim yn y byd. Ni bydd yn bosibl i ti ddal yn y tywydd heb yr undeb yma; ond y mae gair melus yn cael ei ddyweyd am y Cristion, y bydd ef fel pren wedi ei blanu ar làn afonydd dyfroedd, a bod ei wraidd wrth yr afon, ac na wywa yn amser sychder. Pa fodd y mae yn dal yn iraidd a ffrwythlawn ymhob tywydd? Am fod ei wraidd wrth yr afon. Y mae llaweroedd mewn amserau go uchel ar grefydd, wedi ceisio cychwyn gyda hi; ond aeth yn ddydd rhy galed iddynt allu dal eu ffordd, oblegid nad oeddynt mewn undeb â'r Gwaredwr; ond y mae rhai yn gallu dal drwy nerth yr undeb, fel yr oedd ambell briod yn gallu dyweyd wrth ei wraig mewn tywydd mawr garw, Tra byddo genyf fi beth, fe fydd genyt tithau hefyd. Felly gan fod llawer o bethau gan Iesu, bydd llawer gan ei bobl hefyd. Tra y bydd gan Iesu ras, bydd ganddynt hwythau ras. Tra y bydd gan Iesu nerth, bydd ganddynt hwythau nerth. Y mae ganddo ef ddigonedd. Y mae rhai ffynnonau bychain ar ben y mynyddoedd yn gallu dal dwfr pan y bydd y ddaear wedi sychu gan wres. Beth ydyw yr achos o hyny? Y maent mewn undeb â'r môr. Pan y bydd holl ganwyllau natur yn diffoddi, câ yr enaid duwiol oleuni yr haul drwy ei undeb â Mab Duw.

2. *Y tangnefedd sydd yn dyfod trwy yr undeb.* Yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymderau. Pa fodd y gall hyny fod? Y mae genym heddwch tuag at Dduw trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Y mae y bobl sydd mewn cymmod â Duw yn rhy isel mewn gostyngeiddrwydd i'r gwynt gael gafael arnynt yr ochr hono, ac y maent yn rhy uchel mewn myfyrdodau ysbrydol i'r gwynt allu eu taflu i lawr. Y mae

yr heddwch tuag at Dduw yn eu cynnal dan bob amgylchiad.

3. *Goruchwyliaethau parhâus Ysbryd Duw ar yr enaid.* Bum yn meddwl pe cawswn unwaith undeb â Mab Duw y buaswn yn gallu byw yn dduwiol byth ar ol hyny; ond nid oes wybod yn y byd pa lun ddaw ar ddyn hyd yn nod ar ol ei aileni, a chael undeb â Mab Duw, os na bydd dan oruchwyliaethau parhâus Ysbryd Duw. Gweddïa, Gristion, am lynu dan y goruchwyliaethau nes y deui o'r diwedd yn bur ar ddelw Duw. Byddaf yn meddwl y dylem weddïo gyda'r hen Whitfield, "Argyhoedda fi bob dydd fod gwared i mi gael o'm llygredd trwy lynu wrth y Cyfryngwr sydd rhwng Duw a dynion."

III. Ymha ystyriaethau y mae nerth plant Duw fel eu dydd.

1. *O ran ei hŷd.* Dichon fod arnat ofn rhywbeth sydd o dy flaen y pery yn o hir; ond "megys dy ddydd y bydd dy nerth" o ran ei hŷd. Ti a fyddi yn myned, fe allai, bron yn union oddiar y maes. Llefa am gael marw yn union fel Aaron ar ol diosg dy wisg oddiam danat. Nid peth bychan yw cael marw ar y maes. Y mae llawer un wedi morio dros foroedd o rwystrau gyda'u crefydd i olwg dynion, a fu farw mewn ceubwll; a llawer un a neidodd dros gloddiau gyda chrefydd, a faglodd wedi hyny ar draws blewyn. Gweddïwn am gael marw yn gryf ar y maes.

2. *O ran amser a thywydd.* Y mae rhai yn eglwys Dduw a llawer mwy o waith ganddynt nag eraill; ond pan y bydd llawer o waith, gweddïwn am lawer o nerth. Rhoddi nerth mewn gwendid y mae Duw.

IV. Y mae yn well i'r Cristion fod ei nerth fel ei ddydd, heb fod ddim yn llai na dim yn fwy.

1. *Wrth hyny bydd ganddo wrth ei gefn etifeddiaeth nad â ddim drwyddi byth.* Ni wna Duw ddim gadael y dyn i fyw ar ei law ei hun byth mwy ar ol ei adferu. Pan osod-

wyd dyn felly ar y dechreu, aeth drwy ei ystâd yn bur fuan; ond nid all y credadyn yn awr werthu ei feddiant o'i ystâd. Gan bwy y mae'r trysor yn cael ei gadw? Gan Ben yr Eglwys. "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." Pe cawsit fyned i ben y tŵr buasit yn fuan yn chwalu y trysor; ond ganddo ef y mae ei ofal. Gwyddai ef mai lle sâl i'w gadw sydd genyt ti. Nid äi di byth drwyddo yn y dull y mae. Nid elli fyned drwyddo er dy wrthgiliadau. Ni dda gan ddyn balch ar gyfrif yn y byd mo'r drefn yma. Y mae ysbryd uchel, boneddigion anghyffredin, ynom ni. Rhaid ein gostwng yn isel iawn i fyw wrth ewyllys Un arall. Y mae arnom ni eisieu nerth i gadw yr oedfa cyn ei dechreu. Pe cawsem ni nerth i gadw yr oedfa hon am dri o'r gloch, buasem wedi ei wario cyn pedwar o'r gloch. Y mae yn well o lawer fel y mae,—"yn ol y dydd," ac yn ol yr awr "y bydd dy nerth." Fe allai y gelli ddywedyd, Mi a ddaethum drwy lawer iawn o dywydd, ond hyd yma y cynnaliodd yr Arglwydd fi, ond y mae arnaf ofn y rhwystrau sydd eto yn ol o fy mlaen; ond paid a llwfrhâu, ti gei nerth i ddal a myned drwyddynt; oblegid "megys dy ddyddiau y bydd dy nerth." Y mae gelynion filoedd o dy flaen, ond y maent wedi cael eu maeddu gan dy Dduw cyn i ti orfod eu gwynebu. Y mae y diafol wedi ei faeddu cyn i ti ei gyfarfod, ac felly cei fyw drwy'r cwbl. O na ddarostyngid y beilchion sy'n ymddiried yn eu nerth eu hunain, i roddi eu mater yn llaw Un arall, a derbyn nerth ganddo ef yn ol eu dydd! Y mae llawer yn dlawd iawn, ond nid yn ddigon tlawd i roddi eu hachos yn llaw Un arall. Yn fwyfwy drud yr elo arnat nes y byddi yn foddlawn i roddi dy fater yn llaw Un arall!

2. *Gwna hyn dy gadw mewn llafur.* "Ymhob llafur y mae elw." "Llaw y diwyd a gyfoethoga."

3. *Gwna hyn dy gadw yn ostyngedig.* Byddai yn dda i'r Cristion mwyaf a goreu gofio y pwll y codwyd ef o hono.

Yn union wedi i Paul gael ei gipio i'r drydedd nef, cafodd swmbwl yn y cnawd a chenad Satan i'w gernodio; a'r dyben oedd, meddai ef ei hun, "fel na'm tra-dyrchefid." Yr oedd hi yn *ffeind* iawn arnaf fi yn y dechreu, medd ambell un. Oedd, a buasai yn parhâu yn dda arnat ti oni buasai i ti fyned yn rhy falch. Buddiol ydyw tynu ymaith bob peth o dan ein traed, fel na byddo genym ddim ond Crist croes-hoeliedig i bwyso arno.

4. *Doed y croesau a ddelo ar dy ddydd*, "megys dy ddydd y bydd dy nerth." Yn wyneb gwên y byd, cai nerth i fod yn ostyngedig; ac yn wyneb gŵg y byd, pan fydd yn cuchio ei waethaf arnat, ti gei nerth i dewi megys Aaron. Hyn nerthodd Paul i ddywedyd, "Mi a ddysgais ymha gyflwr bynag y byddwn fod yn foddlawn iddo,"—boddlawn mewn prinder a boddlawn mewn llawnder.

V. Yr achos paham yr aeth dydd llawer yn drech na hwy.

1. Cychwyn a wnaethant fel yr hâd ar y graig heb ganddynt wreiddyn.

2. Cychwyn heb fwrw y draul cyn cychwyn.

3. Cychwyn heb lwyr adael yr hyn oedd ganddynt yn Sodom ar ol. Yr oedd Pharaoh yn ceisio gan Israel adael eu hanifeiliaid a'u plant ar eu holau, yn wystlon o'u dychweliad yn ol. Gwyddai y cai ef hwy yn ol ond cael ganddynt adael eu plant; ond ni wnaent hwy mo hyny. Cymhorth gaffom ninnau i gychwyn oll yn gryno o'n caethiwed yn yr Aipht,—i gychwyn yn gryno ac yn llwyr o Sodom. Paham y trodd gwraig Lot ei gwyneb yn ol? Heb ymadael yn llwyr â Sodom yr oedd ei chalon. Yr oedd Orpah yn troi yn ol dan wylo, am mai yn ol yr oedd ei phobl a'i duwiau; ond pan aeth Naomi i geisio gan Ruth droi yn ol, yr oedd ganddi hi esgidiau o haiarn a phres dan ei thraed: a dywedai, "Nac erfyn arnaf fi i ymadaw â thi; dy bobl di fydd fy mhobl innau, a'th Ddw-

fydd fy Nuw innau; lle y byddych di farw, y byddaf finnau farw." Ac i ba le yr aeth hi yn y diwedd ond i faes Boaz. Ar ddamwain yr aeth hi yno, canys nis gwyddai mai maes Boaz ydoedd, a'i bod yno ar y ffordd i fyned i gartref llawn. Felly, pe gofynid i tithau, A wyddost ti fod genyt grefydd iawn, ti a atebit na wyddit—mai ar ddamwain y daethost i'w maes hi.

4. Ymddiried gormod ynddynt eu hunain. Dyna fu yr achos o gwymp ac ysbryd drylliog Pedr. Ymddiried gormod ynddo ei hun a wnaeth, nes i'w ddydd fyned yn drech na'i nerth. Ar ol dywedyd na adwaenai mo'i Feistr, y mae yn tyngu ac yn rhegu; ac oni buasai fod yr afael gryfaf fry, mae'n debyg mai y diwedd fuasai iddo dori ei wddf.

5. Myned allan heb esgidiau diwydrwydd. Dyna yr achos fu i ddydd Dafydd fyned yn drech na'i nerth. Rhodio yn segur yr oedd ar nen ei dŷ. Aeth dydd Samson hefyd yn drech na'i nerth drwy iddo fyned i wlad y Philistiaid ac i gyfeillach Dalilah. Nerther ni i aros gartref, ac i weithio gartref. Ni feiddiai neb fyned i werthu powdwr wrth oleu tân canwyll.

Ni raid i'r rhai sydd yn myned i lawr ar hyd y ffordd lydan ddim cael haiarn a phres dan eu traed. Y mae yn ddigon llydan, a hawdd i'w llithro; ond yn y diwedd bydd yn ofnadwy. Dechreuwn yn mhen yr yrfa, a hyny ar unwaith. Rhoddwn heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu. Ceisiwn amynedd i'w rhedeg; Crist yn Ben, a'i air yn rheol, a'i Ysbryd i'n tywys, ac yna cawn fuddugoliaeth yn angeu ar ddiwedd yr yrfa.

# PREGETH XXVII.

## SEFYLL YN Y FARN.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. MICHAEL ROBERTS.*

*Mewn Cymdeithasfa yn Llanidloes, Ebrill 29, 1819.*

SALM i. 5: "Am hyny yr annuwiolion ni safant yn y farn, na phechaduriaid yn nghynnulleidfa y rhai cyfiawn."

Y MAE y Salm hon yn un athrawiaethol. Yr ydych yn deall am lyfr y Salmau, fod llawer o hono yn weddïau, a rhanau o hono yn brophydoliaethau am Berson a swyddau Crist, ac am y gwaith a wna yn ein byd ni ac yn ei eglwys cyn diwedd amser. Y mae amryw o honynt hefyd yn athrawiaethol, ac felly y Salm hon, lle y dysgir i ni amryw gangenau o athrawiaeth am bethau ag y dylem eu credu, a'u credu er ein hiachawdwriaeth a'n dyddanwch wrth

* Da genym fod y tair pregeth canlynol ar gael o eiddo y Parch. MICHAEL ROBERTS, eos Cymry yn ei ddydd. Bydd yn dda gan gannoedd weled a darllen pregeth fawr fendithiol Dydd y Farn fel y traddodwyd hi yn y Gymanfa yn Llanidloes, Ebrill 1819 Yr oedd rhai yn dyfod i'r eglwysi yn y cylch hwnw am yn agos i ddeng mlynedd ar ol ei gwrando, a barna rhai fod tua mil o eneidiau wedi eu hargyhoeddi trwyddi y tro hwnw. Cofiwn byth bregeth a glywsom ganddo yn Moriah, Caernarfon, ar y geiriau, "Y rhai nid oes i'r ail farwolaeth awdurdod arnynt." "Bobl anwyl," meddai, "gwyliwch fyned i afael yr ail farwolaeth. Yr ail, yr ail fydd yn ofnadwy i hen wrandäwyr fy ewythr o Glynnog, a'r mwyneiddiaf Evan Richardson o'ch tref chwithau." Nid oedd nemawr wyneb sych yn y capel eang, er mai oedfa ddau o'r gloch ydoedd. Yr oedd yn ei wisg oreu wedi hyny y nos ar y gair "Gorphenwyd." Yr oedd cyhoeddi ei enw yn peri gwên hyfryd ar y gwrandäwyr.

fyw yn y byd. Dangosir i ni yn y Salm fer hon y gwahaniaeth amlwg sydd rhwng y duwiol a'r annuwiol: y gwahaniaeth mawr sydd rhyngddynt o ran sefyllfa a chyflwr eu heneidiau rhyngddynt â Duw a cher bron Duw, a'r gwahaniaeth mawr sydd rhyngddynt o ran agwedd a dull eu hymarweddiad ger bron dynion. Dangosir yma hefyd y gwahaniaeth mawr sydd rhyngddynt o ran eu defnyddioldeb a'u llwyddiant a'u parhâd; ac am eu ffyddlondeb i Dduw a'i achos, ynghyd a'r gwahaniaeth amlwg, tragywyddol, fydd rhyngddynt yn y farn a ddaw yn y dydd mawr diweddaf. Y mae gwahaniaeth rhyngddynt yma o ran eu cyflwr ger bron Duw, ond nid yw pawb yn gweled hyny; ac y mae gwahaniaeth mawr rhyngddynt yma yn eu hymarweddiad a'u buchedd, ond nid yw pawb yn ddigon craff eu llygaid i'w weled; ac y mae gwahaniaeth mawr rhyngddynt yn eu ffrwythau, sef gogoneddu Duw yn eu hoes a'u cenedlaeth, ond ychydig sydd yn gweled hyny. Ond daw y gwahaniaeth i'r golwg yn y farn mor glir, ac yn y fath fodd, fel na bydd neb yn ei ammheu, nac yn dywyll yn ei gylch fyth ar ol hyny i dragywyddoldeb. Y mae y duwiol dan fendith a ffafr Duw, ac y mae yn gyfiawn ger bron Duw, ac y mae yn heddwch a than wên Duw, a than addewid o wynfyd wedi ei chyhoeddi o orseddfainc Duw. Ond y mae yr annuwiol o ran ei gyflwr dan felldith deddf Duw. Os annuwiol ydwyt, O enaid! y mae melldith Duw ar gyfer dy enaid; a hi a dy wywa, ac a dy gryna, ac a dy losga yn dragywyddol, os na chei dy glirio o'i gafael. Nid yw'r duwiol ddim yn rhodio yn "nghynghor yr annuwiolion, nac yn sefyll yn ffordd pechaduriaid, nac yn eistedd yn eisteddfa y gwatwarwyr." Nid yw felly mewn un wedd nac mewn un gradd o'r un rodiad a'r annuwiol. "Eithr y mae ei ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos." Y mae ei holl galon a'i holl enaid yn caru holl eiriau Duw. Y mae ei ewyllys a'i duedd ac egwyddor

ei galon yn ymhyfrydu yn nghyfraith yr Arglwydd. "Ac efe a fydd fel pren wedi ei blanu ar làn afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa; a pha beth bynag a wnêl efe a lwydda." Dyna ei ffrwythlondeb a'i lwyddiant a'i barhâd. Rhydd "ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa, a pha beth bynag a wnêl efe a lwydda." Fe'i diwreiddiwyd o'r hen Adda, a bu gorchwyliaeth yr Ysbryd Glân ar ei gyflwr nes ei symud o dan yr hen gyfammod, ac fe'i planwyd ar làn afonydd dyfroedd gras. Unwyd ef â Christ, ac yna y mae yn dwyn ffrwyth i Dduw. "Nid felly y bydd yr annuwiol, ond fel y mân us yr hwn a chwâl y gwynt ymaith; am hyny yr annuwiolion ni safant yn y farn, na phechaduriaid yn nghynnulleidfa y rhai cyfiawn."

I. Y PETHAU NEILLDUOL A OLYGIR GAN Y SALMYDD FEL RHESYMAU CEDYRN I BROFI NA SAIF YR ANNUWIOLION YN Y FARN.

1. *Y mae rhyw achos yn eu cyflwr yn peri hyny.* Y mae bod yr annuwiol y peth ydyw yn ddigon o brawf na saif yn y farn. Y mae ei gyflwr dan felldith Duw. Y mae yn ngafael peth a'i cryna yn y farn. Y mae ei fod dan felldith a digofaint Duw, a than gondemniad ei ddeddf, ac yn anghyfiawn ger bron Duw, yn ddigon er profi na saif yn y farn.

2. *Am fod ei fuchedd y peth ydyw.* Daw ei fywyd annuwiol i wasgu arno, a daw yn ormod baich i'r enaid sefyll dano. "Yr annuwiolion ni safant."

3. *Am nad ydynt yn brenau planedig wrth yr afonydd dyfroedd*, ac am nad oes ffrwyth arnynt yn ei bryd, ac am nad oes dalen proffes ganddynt, ac am eu bod fel mân us, ac mor ysgafn a'r us o flaen y gwynt, ac am eu bod mor addfed i dân a'r us. Pan yn wyneb temtasiynau y diafol y maent fel us; pan o flaen profedigaethau y byd y maent fel us; a phan y byddant o flaen ceryddon yr Arglwydd, us

ydynt yn methu dal. Y mae corwyntoedd llid i ddyfod ar yr annuwiolion, ac am hyny ni safant yn y farn. Byddant yn cael eu chwalu i'w trofeydd heb obaith am ddiangfa.

4. *Am mai barn fydd yno.* Nid mesur dyn, ond barn gyfiawn Duw. Chwilir pob peth i'r gwaelod. Barn Duw fydd yno. Pwysir y cyflwr yn y clorianau. Profir y mater yn wyneb deddf Duw. Am hyny ni safant, am mai barn yn ol uniondeb a gwirionedd fydd yno. Barn gyfiawn Duw, a hono y farn ddiweddaf. Ni bydd dim apelio i lys uwch.

5. *Am y myn Duw ddangos ei bobl a'i achos mewn anrhydedd cyhoeddus yn y dydd mawr hwnw;* ac am y myn hefyd ddangos yr annuwiolion mewn dull cyhoeddus. "Yr Arglwydd a edwyn ffordd y rhai cyfiawn, ond ffordd yr annuwiolion a ddyfethir;" a chan y dyfethir eu ffordd, dyfethir hwythau yn eu ffordd.

II. YR ATHRAWIAETH A GADARNHEIR YN Y GEIRIAU HYN, sef bod barn gyffredinol i ni ymddangos ynddi. "Yr annuwiolion ni safant yn y farn." Barn fydd ag y bydd raid i ni oll ymddangos ynddi. Y mae barn ddirgelaidd bersonol i bob un ymddangos ynddi ar ei ben ei hun, yn angeu—sef barn *brivate* i ti dy hun fyned iddi pan yn marw; i fyned ar dy ben dy hun, heb fod neb ynddi ond Duw a thithau. Bydd dy enaid yn ngwyddfod Duw ei Farnwr y foment y bydd yn myned allan o dy gorff. "Gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hyny bod barn." Yn union ar ol marw byddi mewn byd dyeithr iawn. Bydd yn ymdrech galed ryfedd arnat wrth farw, ond wedi hyny byddi yn ngwyddfod Duw. "Yna y dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu." Pa le y bydd yr ysbryd y pryd hyny? Yn ngwydd Duw—wedi dychwelyd at Dduw yr hwn a'i rhoes. Bydd dy gorff yn cael ei gladdu gan rywrai y pryd hyny yn y pridd, ond bydd yr enaid yn nghlorian Duw, ac fe fydd ei wyddfod am foment yn llenwi dy lestr o nefoedd neu o uffern dragywyddol; a byddi yn myned o'r farn ddir-

gelaidd hono i dy gartref tragywyddol. Ond heblaw y farn ddirgelaidd hono, y mae barn gyhoeddus gyffredinol i ni oll ymddangos ynddi yn y dydd diweddaf. Gweithred olaf Duw fel Llywodraethwr a Barnwr y byd fydd barnu y byd yn y dydd diweddaf. Yno y dangosir uniondeb Rhagluniaeth Duw, ac uniondeb cyfraith Duw, ac uniondeb a mawrhydi llywodraeth Duw; ac yno y bydd pawb yn cael eu sefydlu yn ei le ei hun. Dydd y farn fydd hwnw, ac nid nos y farn. Dydd digon goleu i weled dirgelion y galon, dydd digon goleu i weled dirgelion dynion, dydd digon goleu i ddyfod â'r pechodau dirgelaf i'r golwg, megys ar benau tai. Bydd meddyliau dirgelaf dy galon yn dyfod i'r amlwg y pryd hyny. Coffawn rai geiriau i ddangos y bydd raid i ni oll ymddangos yn y farn olaf hono. "A chydgesglir ger ei fron ef yr holl genedloedd." "Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist." Dyma *raid* na ddichon neb byth ei throi yn ol. "Ac mi a welais y meirw, fychain a mawrion, yn sefyll ger bron Duw." Dyna ddiwrnod yn yr hwn y gwel yr hen Adda ei deulu i gyd oll ar yr un golwg. Bydd holl gythreuliaid uffern yn gorfod ymddangos yno ger bron yr Arglwydd eu Barnwr.

Y Barnwr fydd Crist Iesu y Brenin: y Duwdod yn Mherson y Mab fydd yn eistedd ar y fainc i farnu. Rhan o'i swydd fel Cyfryngwr fydd agor ei lys i farnu y byd. Y mae wedi gorphen ei holl waith yma ar y ddaear, ac y mae ar ei ben goronau lawer; ond nid yw ei goron eto yn llawn. Y mae yn dysgwyl am gyflawniad o'r addewidion cyfammodol pryd y caiff ei holl elynion dan ei draed. Ni bydd ei bobl ddim yn llawn ddifylchau hyd y dydd hwnw. Ceir gweled pob glin yn plygu iddo y dydd hwnw. Myn Duw fod y farn a gorchwyliaeth y farn yn cael eu gweled drwyddi yn y fath fodd ag y bydd y gwarth mwyaf yn cael ei roddi ar ei holl elynion a galluoedd y tywyllwch, ac yn y modd a'r dull y bydd mwyaf o anrhydedd a chodiad pen i'w

eglwys am byth. Bydd yn ddychryn i'r gelynion weled Iesu yn dyfod ar gymylau y nef, ond bydd ei weled yn dyfod felly yn gysur annhraethadwy i dduwiolion. Byddant hwy yn llawen iawn y bore hwnw, ac yn dywedyd yn orfoleddus, "Dacw y Gŵr y gobeithiasom ynddo." Dacw ein Priod, dacw ein Harchoffeiriad, dacw ein Gwaredwr.

III. YR ANNUWIOLION NI SAFANT YN Y FARN. Bydd yn rhaid iddynt ymddangos yno, ond ni safant.

1. *Ni saif eu hachos.* Ni saif eu mater. Y maent yn treio eu hachos yma, ac y maent yn meddwl fod ganddynt esgus i'w roddi dros eu pechodau, ond ni ddeil yno. Ymddangosant yno yn eu lliw eu hunain. "Na ddos i farn â'th was," meddai y Salmydd. "Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, O Arglwydd, pwy a saif?" Daw y beïau i gyd i'r golwg yn y farn, ond bydd y Meichiau a'r Eiriolwr wedi myned o'r golwg. Daw yr aflendid i'r golwg, ond bydd y ffynnon wedi ei chau. Ni saif eu mater yn y farn. Ni bydd ganddynt yr un cymwynaswr i ddadleu eu hachos.

2. *Nid allant sefyll nac ymgynnal dan bwys y dialedd fydd yn cael ei dywallt arnynt.* "Dydd mawr ei ddigter ef" fydd y dydd hwnw. "Pwy a saif pan ymddangoso efe?" Dyma y dydd pan y bydd "breninodd y ddaear, y gwŷr mawrion, a'r cyfoethogion, a'r gwŷr cedyrn, a'r pen-capteniaid, a phob gŵr caeth, a phob gŵr rhydd," yn gweddïo am i'r mynyddoedd a'r creigiau syrthio arnynt a'u cuddio o wydd y Barnwr fydd yn eistedd ar yr orseddfainc, "ac oddiwrth lid yr Oen. Canys daeth dydd mawr ei ddigter ef, a phwy a ddichon sefyll?" Y dydd y bydd Duw yn tywallt ei lid ar ben yr annuwiol fydd hwnw. Bobl anwyl! llefwn am fod yn barod erbyn y dydd mawr hwnw! am gael ein bywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw.

3. *Nid allant wrthsefyll y ddedfryd fydd y Barnwr yn gyhoeddi arnynt.* Pan fydd y Barnwr yn darllen y ddedfryd, efe a dry at y rhai fydd ar ei law aswy. Iesu Mawr, ym-

attal! paid a dyweyd dim ychwaneg wrthynt. Y maent ar farw, nis gallant byth ddal i glywed dim mwy. Na, y mae genyf *un gair* eto i'w ddywedyd wrthynt; ni ddywedaf fi yr un byth ar ei ol: "Ewch ymaith oddiwrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotowyd i ddiafol ac i'w angylion."

4. *Ni safant yn nghynnulleidfa y rhai cyfiawn.* Dydd y llwyr nithio fydd y dydd hwnw. Y mae yn awr efrau ymhlith y gwenith; ond y mae y diwrnod yn dyfod pan y ceir gweled eglwys Crist heb fod ynddi yr un rhagrithiwr, ac heb fod ynddi ddim llygredigaeth—pob aelod o honi wedi ei berffeithio; ac am hyny ni saif yr annuwiol yno.

Y mae modd parotoi i sefyll yn y farn! Fe fydd miloedd yn gallu sefyll yn y dydd mawr hwnw. Y mae man yn ein hymyl lle y gallwn sefyll ar y graig. Ac "wele dyrfa fawr yr hon ni allai neb ei rhifo, o bob cenedl, a llwythau, a phobloedd, ac ieithoedd yn sefyll ger bron yr orseddfainc a cher bron yr Oen; wedi eu gwisgo mewn gynau gwynion, a phalmwydd yn eu dwylaw, ac yn llefain â llef uchel, gan ddywedyd, Iachawdwriaeth i'n Duw ni, yr Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac i'r Oen." Ymroddwn ninnau yn awr i ddysgu y gân, fel y gallwn obeithio cael bod yn y dyrfa fawr ger bron yr orseddfainc. Diolch fod dydd y Sesiwn heb ein dal ni, a'i bod yn amser cymeradwy i wneyd *counsellor* o'r Barnwr!

"Fe ddaw
Ar y cymylau maes o law,
I rai er dychryn mawr a braw,
Ymhell uwchlaw dychymyg dyn;
Ac yna barna 'r ddaear faith
Yn ol y gwaith a wnaeth pob un."

## PREGETH XXVIII.

### RHWYMO Y DYSTIOLAETH.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. MICHAEL ROBERTS, PWLLHELI.

*Mewn Cymdeithasfa yn y Bala, Mehefin 1822.*

**ESAIAH viii. 16: "Rhwym y dystiolaeth, selia y gyfraith ymhlith fy nysgyblion."**

Y MAE yr Arglwydd yn dysgu y prophwyd, a'r eglwys drwyddo, yn y rhan yma o'r gair sanctaidd, na byddai iddo gydymffurfio â'r byd hwn, ac na byddai i'r eglwys gydymffurfio âg annuwiolion digred y dyddiau hyny. "Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf â llaw gref;" hyny yw, fe ddywedodd yn effeithiol; dywedodd nes y clywais, dywedodd "â llaw gref;" neu fel y dywed Ezeciel, "Bu llaw yr Arglwydd arnaf." Trugaredd fyddai i'r dyrfa yma heddyw, i'r Arglwydd lefaru wrthynt oll "â llaw gref," gyda goleuni a nerth, ac awdurdod a dylanwad yr Ysbryd Glân, i effeithioldeb ar eu meddyliau. "Ac efe a'm dysgodd na rodiwn yn ffordd y bobl hyn; gan ddywedyd, Na ddywedwch cydfwriad wrth y rhai oll y dywedo y bobl hyn cydfwriad;" hyny yw, na fyddwch o'r un egwyddorion a hwy; na fyddwch o'r un fryd a hwy; na fyddwch o'r un rhodiad a hwy; canys gelynion Duw ydynt. Yr un cynghor a gorchymyn sydd yn cael ei roddi yn y Testament Newydd yn y geiriau, "Na chydymffurfiwch â'r byd hwn;" hyny yw, na chydymffurfiwch â'r byd hwn mewn dim croes

i reolau sanctaidd Gair Duw: ac hefyd yn y geiriau hyny, "Deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd." Os ydym ni yn meddwl cael gwir grefydd rhaid i ni gael y grefydd hono a ddelo â ni i anghydffurfio âg annuwiolion ac anghredinwyr y byd hwn o ran egwyddor ac ysbryd, a rhodiad ac ymarweddiad; ac os na chawsom grefydd felly hi fydd yn rhy fach i ni erbyn gwynebu angeu. Gallwn gael llawer o bethau da heb gael grym duwioldeb; ond os ceir ei grym hi, bydd yn sicr o wneyd y tro hwn ar ein henaid. "Nac ofnwch chwaith eu hofn hwynt, ac nac arswydwch." Os na rodiwch yn eu ffyrdd hwy, ac os na fyddwch o'r un egwyddor a bryd a rhodiad a hwy, cewch eich gwaradwyddo ganddynt; a hwy a'ch cablant chwi am nad ydych yn cydymffurfio â hwy ymhob rhyw ormod rhysedd; ond nac ofnwch y gwaradwydd a'r erlid a'r gwawd a ddelo arnoch. Nac ofnwch eu gwawd a'u gogan a'u dirmyg; ac os dêl erlidigaethau, ac os bydd rhaid ymdrechu hyd at waed, ïe, hyd angeu, nac ofnwch. "Nac ofnwch y rhai a laddant y corff. Dyma ben pellaf eu herlidiau a'u bygythion; a thyna y lle yr aeth llawer o'n hen frodyr i selio eu crefydd â'u gwaed ac yn y fflamau tân; ac os daw y cyfryw dywydd mewn gradd i'ch cyfarfod chwithau, fy mrodyr, nac ofnwch; fe dâl crefydd ei harddel. Y mae Mab Duw yn werth glynu wrtho yn y tywydd trymaf. "Arglwydd y lluoedd ei hun a sancteiddiwch;" hyny yw, cydnabyddwch ef yn unig yn sanctaidd. Gweddïwch beunydd, "Sancteiddier dy enw." Ymddygwch ymhob ymarweddiad tuag ato fel Sanct yr Israel. Efe a sancteiddiwch, "a bydded efe yn ofn i chwi;" hyny yw, bydded ef yn wrthddrych eich ofn; ofnwch ef yn dduwiol, gwasanaethwch ef gyda gwylder a pharchedig ofn; "a bydded efe yn arswyd i chwi, ac efe a fydd yn noddfa" i chwi. Ië, ond cawn hi yn galed wrth sancteiddio Arglwydd y lluoedd, a dichon y cawn dywydd garw wrth lynu wrtho;

ond nac arswydwch, "bydd ef yn noddfa" i chwi. Efe a fydd yn gysgod i chwi ac yn noddfa ddiddos dda rhag pob dinystr. Bydd yn noddfa ddiogel. Bydd rhyngoch a phob perygl. Bydd yn ddiangfa rhyngoch a phob niwed, a phob profedigaeth a thywydd. Bydd yn llawn cysuron i deulu Duw nes gorphen eu taith drwy yr anialwch. Bydd yn gadarn dŵr a noddfa.

Y mae y geiriau hyn yn brophwydoliaeth am Grist; y byddai "yn faen tramgwydd ac yn graig rhwystr i dŷ Israel, ac yn fagl ac yn rhwyd i breswylwyr Jerusalem." Y mae yr hen Simeon, yn yr ail bennod o Luc, yn esbonio y geiriau hyn, gan eu cymhwyso at yr Iesu; ac y mae Pedr a Phaul yn gwneyd yr un peth; ac y mae yn sicr mai efe a olygir wrth y gair hwnw: "Efe a fydd yn noddfa." Yn nghysylltiad y ddwy adnod yma â'u gilydd y cawn ddangosiad rhyfedd o'r Arglwydd Iesu. "Arglwydd y lluoedd ydyw." Pwy yw Arglwydd y lluoedd? Noddfa pechadur. Crist ydyw sylwedd y dinasoedd noddfa; cysgod rhag y llid a fydd, diogelwch rhag damnedigaeth, cysgod yr eglwys a'i diogelwch hyd y diwedd. Iesu yn unig yw y noddfa. Pa fath noddfa ydyw? "Arglwydd y lluoedd;" y Duw cadarn. Dyma noddfa gadarn gref a diogel. Arglwydd y lluoedd yw'r noddfa. Ffowch iddi. Hi ddeil ymhob tywydd.

Yr hyn oedd yr achlysur o'r gwawd a'r erlid yn amser Esaiah a barhaodd yr un modd pan y daeth Crist yn y cnawd. Yr oedd yr apostolion a'u gweinidogaeth yn faen tramgwydd ac yn graig rhwystr i ddau dŷ Israel, ac yn fagl ac yn rhwyd i breswylwyr Jerusalem. Felly yr oedd gweinidogaeth Esaiah wedi bod i'r Iuddewon; ac felly yn yr un modd pan y daeth Crist yr oedd gweinidogaeth yr apostolion. Yr hyn oedd Crist yn ei ddarostyngiad, a'r hyn oedd ei athrawiaeth yn nyddiau yr apostolion, y mae felly eto i filoedd yn ein dyddiau ni, "yn faen tramgwydd ac yn graig rhwystr." Nid oedd felly yn mwriad ei Dad, ac nid

oedd felly ynddo ei hun. Nid oedd dim yn ymarweddiad Mab Duw nac yn athrawiaethau ei deyrnas yn achos i neb syrthio ar y maen tramgwydd. Eu cynghor eu hunain, a'u calongaledwch eu hunain, a'u bwriadau a'u dychymygion annuwiol eu hunain, oedd yn peri iddynt dramgwyddo. Wrth bwy y darfu iddynt dramgwyddo? Wrth yr Arglwydd Iesu. Pwy oedd y maen tramgwydd? Anwyl Fab Duw; yr unig Gyfryngwr rhwng Duw a dynion; yr hwn yr oedd ei holl ffyrdd yn gariad ac iawnder. O ddrygioni calon a ffolineb ofnadwy dyn! Pan ofynwyd, Pa sut y bydd yr Iuddewon pan ddelo Crist? Yr ateb oedd, "Llawer yn eu mysg a dramgwyddant, ac a syrthiant, ac a ddryllir, ac a rwydir, ac a ddelir;" ac felly y bu yn ngwyneb gweinidogaeth Crist a'r apostolion. Llawer o honynt a dramgwyddasant ac a syrthiasant. Wrth sylwi ar bob gair yn adnod y brophwydoliaeth, cawn fod hanes yr Iuddewon o ddyddiau Crist hyd heddyw yn esboniad ar y ffoledd sobr hwn bob iot o hono. Pa beth a wnaethant? Tramgwyddo yn gyntaf, wedi hyny syrthio, wedi hyny cael eu dryllio, ac wedi hyny eu dal a'u rhwydo. Dyna a wnaethant yn wyneb athrawiaeth Crist a'i apostolion—tramgwyddo. Beth wedi hyny? Syrthio. Beth wnaethant wedi hyny? Syrthio dan farn Duw. Beth wedi hyny? Eu dryllio gan y Rhufeiniaid, chwalu eu llywodraeth wladol ac eglwysig, a'u lladd a'u caethgludo o'u gwlad. Pa sut y mae arnynt hyd heddyw? Y maent yn parhâu o hyd yn eu rhwydau, yn cael eu dal gan eu hanghrediniaeth dan farnau Duw, yn wasgaredig ar hyd y byd; yn rhwym gan eu hanghrediniaeth, ac yn nôd o farn Duw arnynt fel gwrthodwyr o'r Gwaredwr. Wel, ä y cwbl ynte yn ofer, os felly y mae? Na; bydd genyf ychydig o ddysgyblion wedi y cyfan. Bydd genyf weddill a achubir yn ol etholedigaeth gras. Os tramgwyddo a wnant wrth dy weinidogaeth di, Esaiah, bydd genyf ddysgyblion wedi hyny; a phan y deuaf fy hun yn y cnawd,

bydd genyf ychydig o ddysgyblion yr amser hwnw. Rhyw loffyn bychan fyddant; ond bydd genyf ychydig ddysgyblion ffyddlawn, a gofalaf am danynt. Mi rwymaf y dystiolaeth iddynt. Byddant yn ddysgyblion anwyl iawn genyf, yn wrthddrychau fy ngh ariad a'm gofal. Mynaf ddigon o fodd iddynt gael bywyd, a modd i derfynu bywyd, ac i'r rhai hyn yr wyt ti, Esaiah, i "rwymo y dystiolaeth, a selio y gyfraith," sef "ymhlith fy nysgyblion." Gofala di, Esaiah, am genadon i'w rhoddi, cenadon yn ei deall; gofala am weinidogaeth iddynt y cânt eu bywyd ynddi; edrych yn ofalus ar eu hol. "Rhwyma y dystiolaeth iddynt a selia y gyfraith." Pregetha yr holl air yn ei holl ranau i'm dysgyblion, a gwna ei rhwymo i fy holl weinidogion ymhob oes o'r byd. Gwna iddynt hwythau ofalu am yr un peth i holl weinidogion cymhwys y Testament Newydd. "Rhwyma y dystiolaeth, a selia y gyfraith ymhlith fy nysgyblion."

Yn awr caf alw eich sylw, hyd y caf gymhorth, at rai addysgiadau neillduol oddiwrth adnod y testun.

I. Beth a feddylir wrth y Dysgyblion? Gair aml ydyw yn y Testament Newydd, ac enw aml ar ganlynwyr Crist ydyw dysgyblion. Nid ydyw i'w gael ond anfynych yn yr Hen Destament, nac mewn un man heblaw yn y fan hon yn unig, "Fy nysgyblion." Wrth y cyfryw yr ydym i ddeall yn gyffredin yr apostolion, neu y dysgyblion. Unwaith yn neillduol yn Efengyl Ioan cawn grybwylliad am ganlynwyr Crist yn ei adael: "Llawer o'i ddysgyblion ef a aethant yn eu holau, ac ni rodiasant mwyach gydag ef." Ond yn Llyfr yr Actau y mae yn enw cyffredinol ar y Cristionogion oll: "Y dysgyblion," sef rhai yn arddel Crist fel eu Hathraw, rhai yn ysgol Crist, rhai yn cael eu dysgu gan Grist, rhai dan addysg a dysgyblaeth yn ei dŷ. Y mae ganddo ei ddysgyblion yn y byd. Y mae ganddo ei ysgol yn y byd. Cymerwch ei iau arnoch, a dysgwch ganddo; canys addfwyn ydyw, a gostyngedig o galon. Athraw heb

ei fath ydyw. Enaid anwyl! cymer dy ddysgu ganddo, a chei orphwysdra. "Dy holl feibion fyddant wedi eu dysgu." "Pob un o honynt a glywodd gan y Tad ac a ddysgodd ganddo." Dyna pwy yw y dysgyblion, rhai yn cymeryd eu haddysgu a'u harwain a'u llywodraethu wrth reolau a than addysg yr Athraw bendigedig hwn. Mae'n debyg na chefais erioed y fraint o anerch mwy o'r dysgyblion nag ydwyf yn gael yn awr; ond O gyfeillion anwyl! y mae modd bod yn ddysgyblion mewn enw yn unig, heb fod yn ddysgyblion mewn gwirionedd. O'r llïaws dysgyblion sydd yma, pa nifer sydd yn ddysgyblion yn wir? "Os aroswch yn fy ngair i, dysgyblion i mi ydych yn wir." Os erys fy ngair i ynoch; os erys ynoch, ac os bydd yn gèni ynoch, a chwithau yn aros yn fy ngair i, gan rodio yn ol fy ngair i, "dysgyblion i mi ydych yn wir." Fe ddaw llawer gwyntyll i chwythu yn eu herbyn, ond dyna rai fyddant yn ddiogel ar y llawr dyrnu yn y diwedd. Meddai Crist mewn lle arall, "Wrth hyn y gwybydd pawb mai dysgyblion i mi ydych os bydd genych gariad i'ch gilydd." Os na bydd genych gariad helaeth tuag at eich gilydd, er dwyn beichiau eich gilydd, ac er ymgeleddu eich gilydd, ni byddwch yn ddysgyblion i mi. Bydd yn amlwg i bawb mai rhith ddysgyblion fyddwch ar y goreu. "Yn hyn y gogoneddir fy Nhad, ar ddwyn o honoch ffrwyth lawer, a dysgyblion fyddwch i mi." Dyna y rhai ydynt yn ddysgyblion yn wir, y rhai sydd yn dwyn ffrwyth lawer.

II. CENADWRI YR ARGLWYDD I'R PROPHWYD, SEF YR HYN OEDD I'W WNEYD I'R DYSGYBLION: "Rhwym y dystiolaeth, selia y gyfraith ymhlith fy nysgyblion." Pregetha y gair er casglu y dysgyblion, a'u gwneuthur yn ddysgyblion. Pregetha y gair er eu porthi a'u magu ar ol eu casglu. Y mae yn gyffelyb o ran cynnwysiad i'r genadwri a roddodd yr Arglwydd Iesu i'w apostolion, "Ewch i'r holl fyd, a dysgwch yr holl genedloedd." Ewch i'r holl fyd a gwnewch

ddysgyblion o'r holl genedloedd. Ewch i gasglu dysgyblion, a hyfforddiwch hwy ar ol eu casglu; a rhwymwch y dystiolaeth a seliwch y gyfraith yn eu plith. Pregetha y gair iddynt, rhwyma y dystiolaeth. Neu fe allai fod yn y geiriau olygiad fel hyn: Rhwyma a selia hi, bydd yn guddiedig yn dy ddyddiau di; ni bydd ond ychydig iawn o'r dysgyblion yn ei deall, a'r rhai hyny ond mewn rhan. Selia hi ymhlith fy nysgyblion. Ond yr hyn yn fwyaf neillduol a olygir yma, yn ol fy marn i, yw rhwyma a selia hi; hyny yw, gofala am dani, cadw hi yn anwyl gyda'r gofal mwyaf, diogela hi hyd yr eithaf; selia hi yn y modd diogelaf ymhlith fy nysgyblion; a dyna fel y golygaf fi y geiriau yn bresennol. Pregetha yr efengyl iddynt, a phregetha y ddeddf iddynt. Pregetha y dystiolaeth iddynt; gofala am hono, oblegid yn hono y cânt eu bywyd. Selia y gyfraith hefyd iddynt; dal y gyfraith i fyny; na âd i'r un iod o honi i ballu. "Rhwym y dystiolaeth;" hyny yw, pregetha yr efengyl bob rhan o honi. Ni chei yr un dysgybl heb hyny. Pregetha yr efengyl, ni chânt eu bywyd heb hyny; ond ni chânt ar ol hyny fod yn afreolus a diddeddf,—selia y gyfraith hefyd yn eu plith. Cadw yr efengyl a'r ddeddf gyda'u gilydd. Dyna fel y gwna y Bibl. Y mae yr holl Fibl, mewn rhyw ddull neu gilydd, yn cyfarfod yn y ddau air yma—deddf ac efengyl. Dyna ydyw Gair Duw, efengyl a deddf. Yr un peth ydyw dywedyd "rhwym y dystiolaeth a selia y gyfraith" ag a fyddai dywedyd, Pregetha y gair oll, yn ei holl gynnwysiad, yn ei holl ddefnyddiau. Nid oes modd pregethu y ddeddf heb yr efengyl, ac nid oes modd pregethu yr efengyl heb y ddeddf. Y mae y naill yn wasanaethgar i'r llall, a dylid eu cadw ynglŷn â'u gilydd. Y mae bod yn oleu am natur a thueddiadau un yn goleuo y meddwl am natur a thueddiadau y llall. Y maent yn egluro ac yn cadarnhâu eu gilydd, heb fod y naill yn troi y llall o'i lle. Fy mrodyr anwyl yn y weinidogaeth, nerther ni i

wneyd hyn yn ofalus a ffyddlawn, sef rhwymo y dystiolaeth, a selio y gyfraith ymhlith y dysgyblion. Y dystiolaeth yw y gwirioneddau ydym i'w credu am ein bywyd, a'r gyfraith yw y gwirioneddau ydynt i gael ein hystyriaeth a'n hufudd-dod yn bersonol ac yn deuluaidd drwy ein hoes. Dyna ydyw yr efengyl, "Y dystiolaeth." Tystiolaeth Crist, tystiolaeth ein Harglwydd, tystiolaeth Duw am ei Fab. "Os tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn, y mae tystiolaeth Duw yn fwy; canys hyn yw tystiolaeth Duw, yr hon a dystiolaethodd efe am ei Fab," sef bod Iesu Grist yn Fab Duw, a bod bywyd ynddo i bechadur. Tystiolaeth Duw yw tystiolaeth y Drindod sanctaidd: tystiolaeth y Tad o'r nefoedd, tystiolaeth y Mab am dano ei hun, tystiolaeth yr Ysbryd Glân trwy y gair, a thrwy effeithiau yr efengyl; a'r dystiolaeth fydd yn mhrofiad pob un sydd yn credu yr efengyl. Dyna ydyw tystiolaeth yr efengyl. Dangosed Duw i ni ei nerth a'i phwys a'i gogoniant! Tystiolaeth Duw am ei Fab; tystiolaeth Un y mae yn anmhosibl iddo fod yn gelwyddog; Un mwy na phawb. A'i dystiolaeth am ei Fab; dyna wrthddrych y dystiolaeth, Mab Duw. Tystiolaeth y digelwyddog Dduw, dyna graig yr enaid. Am ei Fab, dyna y gwrthddrych. Ni siomir neb byth ynddo. Y dystiolaeth am ei Berson fel y mae yn Dduw a dyn, ac yn unig Gyfryngwr rhwng Duw a dynion. Y mae yn addas i osod ei law ar y ddwy blaid. Y dystiolaeth am ei neillduad i'w swyddau cyfryngol. "Ti wyt Offeiriad yn dragywyddol." Y mae wedi ei osod yn Offeiriad yn dragywyddol, yn ol trefn cyfammod. Y mae y dystiolaeth yn egluro ei osodiad yn ei swyddau fel Prophwyd, Offeiriad a Brenin; ac am ei gyfiawnder yn gweini ei swyddau; a bod pob gras a dawn ganddo. Dyna oedd un dystiolaeth am dano: "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Beth ydyw y dystiolaeth? Nad oes iachawdwriaeth yn neb arall. "Yr hwn a ddêl ataf fi nis bwriaf ef allan ddim." "Y mae Hwn

yn derbyn pechaduriaid." "Deuwch ataf fi, bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, ac mi a esmwythâf arnoch." Pa beth a wnawn ni iddi yn ein gweinidogaeth, a pha beth a wnewch chwithau iddi wrth ei gwrando? Rhwyma hi, gofala am dani; cylyma hwy am dy wddf, ysgrifena hwy ar lech dy galon; cadw hi, canys dy fywyd yw hi. Rhwym y dystiolaeth ar lech dy galon. Edrych arni fel dy drysor penaf. Rhwyma hi am dy wddf. Gofala am dani bob amser, pa le bynag y byddi, onidê fe fydd rhyw ddiffyg ar dy fywyd. Rhwyma hi yn ofalus. Edrych arni fel dy fywyd. Edrych arni fel peth mwy a gwell na holl gyfoeth y byd, ac na thrysorau goreu y ddaear. Nid yw holl fŵngloddiau y byd ddim o'u cymharu â'i gwerth. Y mae goludoedd y ddwy India yn myned yn ddim mewn cyferbyniad iddi. Y dystiolaeth am ein bywyd ydyw. Rhwyma hi. Paham? Oblegid ei sicrwydd. Tystiolaeth a ddeil ydyw. Tystiolaeth sicr: y mae sicrwydd Dwyfol yn perthynu iddi. Craig ddisigl ydyw. "Sicr iawn yw dy dystiolaethau." Maent yn gadarnach na mynyddau y byd. Cyn hir bydd ein llygaid ni yn edrych ar fynyddoedd y *Globe* yma yn chwalu oddiwrth eu gilydd. Chwi gewch weled mynyddau Sir Feirionydd yn llamu fel ŵyn defaid; ond saif y dystiolaeth hon y pryd hyny, heb grynu na chwalu. Hi a saif byth bythoedd; a chan y saif y dystiolaeth, saif ein hachos ninnau. Ni a safwn yn ein rhan yn niwedd y dyddiau. "Cyfammod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd." Wel, ni waeth pa fodd y bydd y saint byw wedi cael eu rhwymo felly? O gwaeth; "selia y gyfraith" hefyd. Pa le y maent yn cael eu bywyd? Yn y dystiolaeth. Pa le y cânt y rheolau pa fodd i fyw ac i rodio? Yn y gyfraith. Pa le y mae y ffynnon? Yn y dystiolaeth. Pa le y mae yr achub? Yn y dystiolaeth. Pa le y mae rheolau bywyd duwiol? Yn y gyfraith. Os dan y selio a'r rhwymo yma y byddwn, gwelir ni heb na brycheuyn na chrychn i yn sefyll yn ein rhan yn niwedd y dyddiau.

## PREGETH XXIX.

### LLAWENYDD YNGLYN A BOD YN GADWEDIG.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. MICHAEL ROBERTS.

*Mewn Cymdeithasfa yn y Bala, Mehefin 20, 1821.*

ESAIAH lxiv. 5: "Cyfarfyddi â'r hwn sydd lawen, ac a wna gyfiawnder; y rhai yn dy ffyrdd a'th gofiant di: wele, ti a ddigiaist pan bechasom: ynddynt hwy y mae para, a ni a fyddwn cadwedig."

CODODD Esaiah yn genad effro iawn dros Dduw at y bobl. Hawdd deall fod Israel mewn rhyw adfyd trwm y pryd hyny. Anhawdd, fe ddichon, penderfynu beth oedd eu hadfyd. Ond fe allai mai dyma a olygir yn fwyaf neillduol wrth eu hadfyd, sef eu bod dan geryddon fflangell Duw am eu heilunaddoliaeth drwy yr Assyriaid ac eraill; neu ynte, gall fod yna gyfeiriad at yr adfyd a gymerai le ar ol hyn, sef y caethiwed i Babilon, ac effeithiau y caethiwed ofnadwy hwnw. Neu fe allai y byddai mor fuddiol i ni gymeryd y geiriau hyn yn athrawiaethol i ddangos yr iselderau mawrion y mae eglwys Dduw ynddynt yn aml yn y byd, ac fel y maent yn gorfod rhodio yn ben-isel a galarus yn fynych iawn. Ond yn y trallodion a'r cystuddiau mwyaf y mae rhai yn effro yn y nos, ac y mae ysbryd gras a gweddi yn gynhes yn nhŷ Dduw; a thra y byddo gorsedd gras yn rhydd, ac ysbryd gweddi yn Sïon, nid ä hi byth yn galed, ac ni bydd yn ddrwg iawn. Y geiriau hyn oedd gweddi eglwys Dduw y pryd hwnw, "O na rwygit y nefoedd a disgyn, fel y toddai y mynyddoedd o'th flaen di."

Pan y mae yr Arglwydd yn ei egluro ei hun mewn modd rhyfedd o blaid ei eglwys, er ei noddi a'i dyddanu, ac er dinystrio ei gelynion a'i gwrthwynebwyr, y mae y dull hwn o ymadroddi yn cael ei arfer yn y Bibl, sef fod Duw yn disgyn ac yn rhwygo y nefoedd. Y mae Ef yn trigo yn y goleuni, a'r tywyllwch dan ei draed; ac y mae y tywyllwch yn aml rhyngom ni âg ef. Y mae rhyw leni rhyngom ni âg ef fel nas gallwn ei ganfod ond yn rhyfeddodau yr iachawdwriaeth, a'i ofal am ei eiddo, ac yn ei waith yn rhwygo y nefoedd ac yn disgyn i'w pleidio.

"O na rwygit y nefoedd;" hyny yw, O na ddadguddit dy hun i'th bobl, er dangos pa fath ydwyt. Cymer dy allu mawr a disgyn. Gelli rwygo y nefoedd er cael dy ffordd yn rhydd. Cyhoeddodd ei hun ei fod yn disgyn gynt i wlad yr Aipht: "Gan weled," meddai, "y gwelais gystudd fy mhobl yn yr Aipht, a'u gwaedd o achos eu meistriaid gwaith a glywais, canys mi a wn oddiwrth eu doluriau, ac mi a ddisgynaf i'w gwaredu hwy o law yr Aiphtiaid;" hyny yw, mi a ddadguddiaf fy hun o'm gorsedd yn y nef, ac mi a gofiaf fy nghyfammod a'm llw, a disgynaf i gwblhâu fy addewid. Mi a rwygaf y nefoedd, ac mi a ddisgynaf; ac yna pan y mae yn disgyn y mae y mynyddoedd yn toddi o'i flaen. Pethau uchel, cedyrn yw y mynyddoedd, ond rhaid iddynt doddi o flaen Duw. Pethau uchel felly ydyw gwrthwynebiadau gelynion achos Duw. Y maent yn gedyrn ac yn uchel; ond er mor gedyrn rhaid iddynt doddi o'r ffordd pan ddisgyno Efe.

Gweddi addas iawn i ni yma heddyw ydyw y weddi yma. Da genym gael y fath nifer yma i weddïo, "O na rwygit y nefoedd a disgyn, fel y toddo y mynyddoedd o'th flaen!" Beth bynag ydyw caledrwydd y dorf, beth bynag ydyw hyfdra pechaduriaid yn eu hannuwioldeb, beth bynag ydyw amlder a nerth gelynion Sïon, gall ef ddisgyn a rhwygo y nefoedd, a symud y mynyddoedd o'r ffordd. O na

ddisgynit yn ngoruchwyliaethau dy ras, O na ddisgynit yn ngweinidogaeth dy Ysbryd! Pan feddyliom am efengyl gras yn gwynebu ar yr holl ddaear yn y dyddiau hyn, a meddwl am anfon Biblau a chenadau i bob man, a meddwl am nerth dichellion twyll Mahomet, y gau brophwyd, ac am lid a malais yr hen butain o Rufain, a'r cenedloedd Paganaidd ydynt am rwystro yr efengyl, yr ydym am waeddi, "O na rwygit y nefoedd a disgyn, fel y toddo y mynyddoedd o'th flaen!" Hefyd, er mor galed yw ein gwlad ninnau, dim ond iddo Ef ddisgyn fe doddai y mynyddoedd o'i flaen; fel pe byddai tân angerddol yn llosgi creision, ac mor danllyd nes berwi y dwfr; felly pan ddelo Duw i'r golwg, bydd yn hollol hawdd iddo doddi y mynyddoedd a gorchfygu gelynion ei eglwys.

I ba beth yr ydych yn gweddïo y weddi hon? "I hysbysu dy enw i'th wrthwynebwyr, fel yr ofno y cenedloedd rhagot;" i hysbysu dy enw, dy allu, dy drefn, a dy gyfammod. Disgyn yn nerthoedd gweithrediadau dy Ysbryd, nes y byddo pob llythyren o dy enw yn dyfod i'r golwg; ac ond i ti ddyfod i'r golwg fe gryna y cenedloedd o'th flaen. "Pan wnaethost bethau ofnadwy ni ddysgwyliasom am danynt." Pan y daethost i'r golwg, y mynyddoedd a doddasant o'th flaen. "Pan wnaethost bethau ofnadwy ni ddysgwyliasom am danynt." Daethost i achub dy bobl pryd nad oedd neb yn meddwl y gwnait nac y gellit. Pan oeddynt ar lewygu, a phan oedd eu gwrthwynebwyr yn meddwl y darfyddai am danynt, a hwythau mewn dychryn yn gwaeddi, "Darfu am danom yn dragywydd;" pan nad oedd neb yn y nefoedd nac ar y ddaear yn meddwl y gwnaethit ti y fath beth a'u gwared. Ond Duw anfeidrol ydwyt. Yr un ydwyt heb newid, na chysgod tröedigaeth; am hyny ni ddyfethwyd dy bobl. Y mae dy oruchwyliaethau i achub oes ar ol oes yn rhyfedd iawn. "Ac erioed ni chlywsant, ac ni dderbyniasant â'u clustiau, ac

ni welodd llygad, O Dduw, y pethau a ddarparodd efe i'r neb a ddysgwyl wrtho:" dy waredigaethau i dy bobl yn y byd, o gyfyngderau allanol, ac o fylchau cyfyng iawn. Ac yn neillduol, "ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn ddychymygu y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef." Y mae y duwiolion oll yn caru Duw ac yn credu ynddo, ac o ganlyniad y mae digon ar eu cyfer. Ni ddaeth i galon y gelynion, ac ni ddaeth i galon duwiolion eu hunain, ni ddaeth i galon y doethion craffaf, i feddwl nac amgyffred am ogoniant trefn gras i achub pechadur; y pethau am achubiaeth trueiniaid colledig, eu hachub o feddiant y diafol, ac o felldith y ddeddf, a'u dwyn i ryddid. Ni ddaeth hyny erioed i galon dyn; ond yr oedd hyny erioed yn nghalon Duw. Yr oedd hyny yn mynwes Duw cyn bod y ddaear, ac eglurodd ei amcan grasol i ni drwy ei Ysbryd. Ni ddaeth erioed i feddyliau y dynion duwiolaf a dreiddiodd ddyfnaf i ddirgeledigaethau gras y nefoedd. I raddau bychain y mae y mwyaf a'r dyfnaf wedi gallu treiddio iddo. Ond ni a gawn weled yn eglurach rywbryd. Pan ar ganol moroedd trugaredd a gras, cawn waeddi, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw; canys o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef y mae pob peth. Iddo ef y byddo y gogoniant yn dragywydd."

Gwnawn rai sylwadau oddiwrth yr adnod a ddarllenwyd fel testun: "Cyfarfyddi â'r hwn sydd lawen, ac a wna gyfiawnder; y rhai yn dy ffyrdd a'th gofiant di: wele, ti a ddigiaist, pan bechasom: ynddynt hwy y mae para, a ni a fyddwn cadwedig."

I. Y mae yn y geiriau hyn DDESGRIFIAD HELAETH IAWN O NATUR GWIR GREFYDD. Er nad wyf yn meddwl bod yr un adnod i'w chael a rydd ddesgrifiad cyflawn o wir grefydd, eto cawn yma ddarluniad hynod o lawn. Y mae yma dri pheth fel darluniad o'i natur, neu o gymeriad gwir

dduwiolion:—1. Bod yn llawen. 2. Gwneuthur cyfiawnder. 3. Cofio Duw yn ei ffyrdd.

1. Yr hwn sydd lawen. "Nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod; ond cyfiawnder a thangnefedd a llawenydd yn yr Ysbryd Glân." Dyna y fath un ydyw dyn duwiol yn ein dyddiau ninnau, llawen yn yr Ysbryd Glân. Y mae hyny mewn graddau yn ei enaid: "yr hwn sydd lawen" ydyw. Y mae hyny yn cydsefyll â changenau eraill yr athrawiaeth. Y mae yn wir fod y duwiol yn aml yn galaru. Y mae yn gorfod teithio dyffryn Baca, ac yn aml yn isel iawn; ond y mae ganddo fodd i fod yn llawen mewn gorthrymderau. Er fod ei galon yn ddrylliedig, ac er rhodio yn alarus yn nghanol y gelynion, eto y mae ganddo lawenydd. Nid llawenydd y byd, nid llawenydd y cnawd, nid llawenydd yr annuwiol ydyw. Am lawenydd yr annuwiol, llawenydd o natur annuwiol ydyw—llawenydd i gywilyddio o'i herwydd, ac i wrido wrth ei fwynhâu; llawenydd byr ei barhâd. Dyna ydyw llawenydd bydol, amledd pethau y ddaear sydd yn ei wneyd. Ond nid dyna ydyw defnydd llawenydd y duwiol. Yn Nuw a'i drugaredd a'i drefn y mae y duwiol yn llawenhâu. Yr hwn sydd lawen ydyw y dyn duwiol. Y mae yn cael modd i ganu mewn gorthrymderau. Y mae yn aml yn galaru ac yn canu bob yn ail; dagrau a gwenau ar ei ruddiau bob yn ail. Y mae lawer diwrnod dan y cwmwl duaf, ond wedi hyny y mae'r heulwen yn d'od. Wedi y nos dywyllaf y mae y wawr yn tori.

Llawenydd sanctaidd ydyw llawenydd y duwiol; llawenydd yn Nuw a'i addewidion, llawenydd yn yr Ysbryd Glân, llawenydd yn para, llawenydd yn cryfhâu, llawenydd yn y glyn, llawenydd yn angeu. Y mae y rhai hyn âg amser hir i'w llawenydd: "Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac na byddo ffrwyth ar y gwinwydd; gwaith yr olewydd a balla, a'r meusydd ni roddant fwyd; torir ymaith y praidd o'r gorlan, ac ni bydd eidion yn y beudai; eto mi a lawenychaf yn yr

Arglwydd; byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth." Pan y bydd wedi darfod yn y tŷ ac yn y maes, yn y winllan a'r gorlan, a oes gan y duwiol y pryd hyny rywbeth i lawenhâu ynddo? Oes, oes; "Eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth." Y dyn duwiol yw yr hwn sydd lawen. Na foddlonwch ar grefydd heb ddim cysur na llawenydd ynddi. Nid galaru i gyd, na gofidio i gyd, na chwyno i gyd, ydyw crefydd; ond y mae cysur a llawenydd ynddi. Am yr annuwiol, y mae ef yn llawen ymhob man ond gydag ordinhadau duwioldeb, ac yn yr olwg ar fyd arall; ond am y duwiol gall ef lawenhâu yn ei Dduw bob amser.

2. Y mae y duwiol am wneuthur cyfiawnder: "Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder" sydd gymeradwy ganddo. Y mae ynddo anian i weithredu cyfiawnder; cyfiawnder â'i deulu, cyfiawnder â'i blant, cyfiawnder â'i gymydogion. Gwneuthur cyfiawnder y mae i fod yn ddefnydd ei gyfiawnhâd? O nage: y mae yn llawen cyn dechreu. Y mae ei berson wedi ei gyfiawnhâu, a'i enaid yn llawen yn y cymmod. Rhaid cael y llawenydd yn gyntaf er gallu gwneuthur cyfiawnder.

3. Cofio Duw yn ei ffyrdd. "Yr Arglwydd yw efe, gwnaed a fyddo da yn ei olwg." Y mae y duwiolion yn gallu cofio Duw pan y bydd y cwbl wedi darfod arnynt. Gallant y pryd hyny waeddi, "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a gymerodd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Y maent yn cofio myned at ei ordinhadau i ddysgwyl ei weled, a mwynhâu ei gymdeithas; ei gofio i'w ryfeddu a'i addoli, a hiraethu am dano, ac ymlawenychu yn ei gariad: ei gofio yn ei ffyrdd. Dyna a'n cododd ni o'r Deheudir a manau eraill i ddyfod tua'r Bala; ei gofio ef yn ei ffyrdd, cofio yr hyn a gafwyd lawer tro, a bod croesaw i gyfranogi eto. Nis gallwn yn ein byw beidio ei gofio yn ei ffyrdd; ac erbyn i ni gyrhaedd yma, efe oedd y cyntaf a

ddaeth, gan waeddi, "Wele fi." Yr ydwyf fi gyda chwi! yn y canol! "Y rhai yn dy ffyrdd a'th gofiant;" a'th gofiant yn ffyrdd dy orchymynion a'th gyfammod: cofio dy awdurdod yn gorchymyn, cofio dy gariad a'th ofal yn argraffu dy ffyrdd a'th eiriau ar y galon.

II. Y MAE YMA ADDEWID WERTHFAWR I'R HWN SYDD YN LLAWEN AC A WNA GYFIAWNDER, AC YN COFIO DUW YN EI FFYRDD. Cyfarfyddaf â hwy, medd Duw; cyfarfyddaf â hwy i'w hamddiffyn a'u hymgeleddu a'u harddel fel fy eiddo. Cyfarfyddaf â hwy ymhob amgylchiad yr ânt iddo; cyfarfyddaf â hwy yn nydd trallod ac yn angeu. Erbyn i'w blant fyned i'r tywydd mawr, y mae ef yno o'u blaen i'w cynnal. Byddai yn cyfarfod Dafydd yn nyfnder ei brofedigaethau. Aeth i'r ffwrn dân mewn pryd i gyfarfod â'r tri llanc ffyddlawn. Aeth i'r ffau mewn pryd i gyfarfod â Daniel. Yr oedd yn dywedyd wrthynt, Yr wyf fi gyda chwi; nac ofnwch. Felly gellwch chwithau, gyfeillion, ddal ar ei addewid, "Pan elych drwy y dyfroedd, mi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd fel na lifant drosot." Pan elych drwy y tân mi fyddaf gyda chwi fel na losgoch. Bu yn dda gan y plentyn lawer gwaith wrth feddwl am y nant ddu o'i flaen yn llifo rhyngddo â thŷ ei Dad, gofio fod ei Dad wedi addaw dyfod i'w gyfarfod. O Sïon Duw! yr wyt yn cofio heddyw am y glŷn tywyll sydd ar y ffordd rhyngom â myned adref, ac y mae yma rai ar gyffiniau y glŷn; ond cofiwch yr addewid, "Yr wyf fi gyda chwi." Cyfarfyddaf â hwy, medd eich Tad. Y mae yn sicr o'ch cyfarfod. Chwi wangalonech ac a ddrysech wrth daro eich traed wrth y mynyddoedd tywyll pe heb arweinydd; ond y mae ef yn sicr o'ch cyfarfod yno.

III. Y MAE YMA GYDNABYDDIAETH O GYFIAWNDER DUW YN EI GERYDDON AM EU BEIAU: "Pan bechasom ti a ddigiaist." Peidiwch a chellwair â phechod. Y mae Duw yn digio, ac yn sicr o guddio ei wyneb, os ymollyngwn i bechu.

Beth y mae y duwiol wrth bechu yn ei wneyd? Tristâu yr Ysbryd Glân! "Am anwiredd ei gybydd-dod y digiais ac y tarewais ef; ymguddiais a digiais, ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon: ei ffyrdd a welais, a mi a'i hiachâf ef." Pan yr ydym yn pechu y mae Duw yn digio; ac y mae y wialen yn cael ei pharotoi. Y mae yn rhy dda gan yr Arglwydd am ei bobl i'w gadael i bechu heb iddo eu ceryddu. Dyna ydyw amcan a ffrwyth ei geryddon, "tynu ymaith y pechod."

IV. Y MAE FFYDD A GOBAITH Y CREDADYN I'W GWELED YN EGLUR YN YR ADNOD: "Ynddynt hwy y mae para, a ni a fyddwn cadwedig." Er bod pechod a llygredd ein natur yn para, a rhyw bechod o hyd yn tynu soriant ein Tad a'i geryddon; eto ni a fyddwn gadwedig. Y mae para ynddynt hwy; am hyny fe bery y wreichionen wan o grefydd ynddynt heb ddiffodd. Y mae cadw i fod ar dorf na ddichon neb ei rhifo. Beth ydyw sail eich gobaith yn wyneb y fath wrthwynebiadau a'r fath elynion? Beth yw sail eich gobaith am ryddhâd a buddugoliaeth yn y diwedd, wedi i'r cwbl fyned drosodd? "Ynddynt hwy y mae para."

1. Yn ngweithredoedd nerthol a gallu Duw i bleidio ei bobl. Y mae cyfeiriad y geiriau at yr hyn a ddywedir o flaen y testun: "Pan wnaethost bethau ofnadwy na feddyliasom am danynt;" pan y rhwygaist y nefoedd ac y disgynaist, ac y toddodd y mynyddoedd o'th flaen. Fe ä Sïon i dywydd eto ag y bydd eisieu cyffelyb gynnorthwyon. Wel, "ynddynt hwy y mae para." Fe fu eu Duw yn agoryd y môr, a medr wneuthur hyny eto os bydd galwad. Bu yn peri i'r haul sefyll, a gall wneuthur hyny eto. Gall wneuthur i'r sêr yn eu graddau fod yn wasanaethgar er amddiffyn ei bobl. Y mae yn para yr un o hyd. Gwnaeth bethau rhyfedd o blaid ei achos yn yr oesau a aethant heibio. Y mae ei ras a'i allu yr un eto. Bum yn meddwl llawer am brofiad a thywydd rhai pan yn gwynebu ar y

gwaith, pan yn cofio fod eu tadau a'r cedyrn wedi myned i'r bedd, a'r gwaith wedi ei adael i ni blantos gweiniaid; ond erbyn treio yr addewidion, yr oeddwn yn gweled mai "ynddynt hwy y mae para."

2. Yr ail beth y mae para ynddo yw y gras mawr, y goludoedd anchwiliadwy o ras, a roddwyd i gadw yn Mhen yr eglwys. "Ynddynt hwy y mae para." Y mae y para wedi bod yn hŵy nag yr oedd rhai wedi meddwl. Beth yw yr achos? Yn ngoludoedd gras y mae para. Erbyn i deulu Joseph fyned i'r perygl, yr oedd digon gan Joseph ar eu cyfer. Y mae yn o flin a thlawd ar lawer heddyw; eto dywedaf wrthynt, ewch eilwaith at yr Hwn y mae digon ganddo. Deuwch at Iesu eilwaith ac eilwaith, y mae digon ganddo; y mae para yn ei drysorau.

3. Y mae para yn yr addewidion ac yn y cyfammod hedd. Cawsom addewidion gwerthfawr drwy rinwedd aberth ac eiriolaeth Iesu, yn ol trefniad y cyfammod o hedd. "Y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant, eithr fy nhrugaredd ni chilia oddiwrthyt, a chyfammod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd sydd yn trugarhâu wrthyt." "Ynddynt hwy y mae para." Y mae llawer o bethau niweidol yn para, ond y mae y "para" sydd yn nhrugaredd Duw yn ddigon ar eu cyfer oll. Y mae dyfroedd Marah yn para, ond y mae ffynnonau yr iachawdwriaeth yn para hefyd. Y mae y gelynion yn para, ond y mae Capten mawr ein hiachawdwriaeth yn drech na hwy. Y mae llygredd yn para, ond y mae y gwaed hefyd yn para yn ei rinwedd. Y mae yr anialwch yn para, ond y mae y dwfr o'r graig a'r manna o'r nef, a'r cwmwl a'r golofn, hefyd yn para. Y mae Iesu Grist o hyd yr un, ddoe a heddyw ac yn dragywydd.

"Cyfammod hedd yw 'r sylfaen gadarn,
Yr hwn nis derfydd byth mo 'i ddawn," &c.

# PREGETH XXX.

## UN GALON AC UN FFORDD.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN ELIAS.*

*Mewn Cymdeithasfa yn Machynlleth, Awst 1821.*

JEREMIAH xxxii. 30: "A mi a roddaf iddynt un galon ac un ffordd, i'm hofni byth, er lles iddynt ac i'w meibion ar eu hol."

NID yw angylion y nefoedd, y rhai ni phechasant erioed, yn haeddu dim oddiar law yr Arglwydd; ond y peth egluraf ynom ni ydyw ein bod yn annheilwng. Yr ydym nid yn unig yn annheilwng o bob daioni, ond yr ydym wedi haeddu pob soriant; ac eto y mae yr Arglwydd wedi rhoddi llawer iawn o ddaioni i ni. Y mae ei ddaioni tymmorol yn fawr iawn, ond nid yn haeddu ei gymharu â'r bendithion ysbrydol ydym yn gael, sef sicr drugareddau Dafydd. Ac nid ar hyd yr un llwybr y mae y trugareddau tymmorol yn

* Y mae cymaint wedi ei lefaru a'i ysgrifenu am dywysog y pulpud Cymreig, sef y Parch. JOHN ELIAS, gan brif ddynion y Dywysogaeth, fel mai ofer fyddai i ni ychwanegu gair atynt, er ein bod wedi gwrando llawer arno. Cawsom rai o odfeuon mawr ei fywyd, sef y "Gwas anfuddiol," a "Brashâ galon y bobl hyn," sef pregeth fawr ar *Green* y Bala, pan waeddodd ryw hen frawd yn ein hymyl, "O beth a wnaf os ydyw Duw wedi fy rhoddi i fyny?" "Na, na," meddai y pregethwr, "nid y'ch di ydw i yn ei feddwl y mae Duw wedi ei roddi i fyny, ond y llanc gwammal, annuwiol acw sydd yn cellwair ar domen y Bala." "Diolch!" meddai y gwrandäwr mewn atebiad, nes yr oedd yr holl gynnulleidfa mewn teimlad anghyffredin, a'r pregethwr ei hun fel angel Duw. Y mae y ddwy bregeth ganlynol yn ddangoseg cywir o·hono i'r oesoedd a ddaw. Y mae gwres a goleuni ynddynt.

dyfod i ni ag y mae y bendithion ysbrydol yn dyfod. Gallasai Duw roddi ei drugareddau tymmorol i ni heb achub neb o honom byth. Gallasai roddi ei drugareddau tymmorol hyd ddydd y farn, heb gynnyg iachawdwriaeth i neb. Nid oedd eisieu Cyfryngwr at hyny. Nid oedd eisieu gwaed y groes i hyny. Gallasai Duw gyfranu ei drugareddau tymmorol yn ei fawr amynedd, a chosbi y pechadur wedi hyny am ei bechod yn eu camddefnyddio. Ynfydrwydd yw dywedyd y buasai raid i'r Arglwydd ddamnio ein rhieni cyntaf yn y dydd y darfu iddynt droseddu ei gyfammod a syrthio, oni buasai yr addewid am Grist. Pe na buasai hyny buasai raid cael hil Adda oll, a buasai raid eu cynnal oll; buasai raid cael dynolryw i'w cosbi. Y mae Duw fel Duw yr amynedd yn arfer rhoddi y bendithion tymmorol hyn; ond y mae y bendithion ysbrydol yn dyfod ffordd arall. Y mae yn rhoddi i rywrai bethau ag sydd ynglŷn wrth iachawdwriaeth; a'i addewid am y pethau hyny sydd yn ein testun. Ac fe'u rhoddwyd i rai gwrthryfelgar iawn. Yr oedd Jeremïah unwaith yn cynnyg gweddïo drostynt; ond yr oedd yr Arglwydd yn dywedyd nad oedd waeth iddo beidio—na byddai iddo ddim ei wrando, ond y mynai eu cosbi am eu pechodau; ac ychwanegai, trwy y prophwyd Ezeciel, pe byddai i Noah a Daniel a Job sefyll ger ei fron i weddïo drostynt na byddai iddo ddim eu gwrando.

Y mae yr Arglwydd yn rhoddi iddynt lawer o addewidion gwerthfawr yn y bennod hon. "Wele, mi a'u cynnullaf hwynt o'r holl diroedd, y rhai yn fy nig a'm llid a'm soriant y gyrais hwynt iddynt, ac mi a'u dygaf yn eu hol i'r lle hwn, ac a wnaf iddynt breswylio yn ddiogel; a hwy a fyddant yn bobl i mi, a minnau a fyddaf yn Dduw iddynt hwythau: ac mi a roddaf iddynt un galon, ac un ffordd i'm hofni byth, er lles iddynt, ac i'w meibion ar eu hol."

Gellir golygu yr addewidion hyn mewn tair ffordd:—

1. Yn perthyn i'w dychweliad o gaethiwed Babilon. Nid oeddynt yn addewidion i'r rhai annuwiol, ond y rhai duwiol oedd eu gwrthddrychau, er bod yr annuwiol wedi cael llawer o freintiau yn eu cysgod.

2. Y maent hefyd yn perthyn i ddychweliad neu adferiad yr Iuddewon yn y dyddiau diweddaf. Fe ddychwelir y deg llwyth o'r manau anhysbys, anial, lle y maent wedi cael eu gwasgaru, ac fe'u cesglir i'w bro eu hunain; ac fe gesglir y ddau lwyth a hanner at eu gilydd, ac fe gyflawna yr Arglwydd ei addewidion iddynt, yn dymmorol ac yn ysbrydol. Y mae llawer yn ammeu hyn, ond y mae cynifer o addewidion wedi cael eu rhoddi dros hyny, fel ag y byddai yn ddirmyg ar Dduw iddynt beidio cael eu cyflawni. Un rheswm dros hyny ydyw hyn,—yn y fan lle y mae Duw yn rhoddi edifeirwch a dychweliad i ddyn oddiwrth ei bechod, nid yw yn gwneyd hyny heb dynu ymaith y farn sydd arno am ei bechod. Barn arnynt hwy o herwydd eu pechodau oedd eu gwasgariad; felly yn adeg eu hedifeirwch a'u dychweliad fe dŷn y farn hono oddiarnynt; ac fel canlyniad o hyny hwy a ddychwelir i'w gwlad; a thyna y pryd y daw cyflawnder y Cenedloedd gyda hwy.

3. Sylwaf ar y testun fel y mae yn un o addewidion y cyfammod gras: "Mi a roddaf." *Myfi*, ni fedr neb arall wneuthur hyny. Y mae genyf fi fraich ddigon galluog i wneuthur hyn i rai mor annheilwng ac mor anniolchgar. Mi a roddaf "*galon.*" Nid oes dim rhoddi o eiddo Duw yn ddigon, heb iddo roddi "calon." Er rhoddi Crist, a rhoddi yr efengyl, a rhoddi gweinidogaeth y cymmod, a rhoddi moddion iachawdwriaeth, ni chedwir yr un enaid heb roddi iddo y galon. Nid yw rhoddi Crist yn ddigon heb roddi calon hefyd i'w dderbyn. Nid yw rhoddi yr efengyl yn ddigon heb roddi calon i gofleidio yr efengyl.

Y mae pob rhoddi yn aneffeithiol heb roddi y galon, ac y mae pob cael yn annigonol heb gael y galon; ac o'm rhan i, ni buasai o un cysur genyf bregethu heddyw fod Crist wedi marw dros bob dyn—ni buasai o ddim calondid i mi—oni b'ai ei fod wedi addaw rhoddi "calon" hefyd. "Mi a roddaf iddynt un galon," neu yr unrhyw galon, fel y mae y *Dutch* yn ei gyfieithu, fel y gwelir yn y *Dutch Annotations*.

Y mae dau beth i'w gweled yn y testun: yn gyntaf, yr ADDEWID; yn ail, y CANLYNIAD O GYFLAWNIAD YR ADDEWID.

Yn gyntaf, YR ADDEWID: "Mi a roddaf iddynt un galon ac un ffordd."

I. Ceisiaf esbonio y gair CALON a'r gair FFORDD; ac yna yn

II. Egluraf ychydig ar y RHODDI UN GALON AC UN FFORDD.

I. Esboniaf ychydig ar y geiriau CALON A FFORDD.

Nid y darn cnawd dan yr enw calon sydd mewn dyn, sydd i ni ddeall wrth y gair calon yn ein testun; ond cymhariaeth yw i arwyddo rhyw beth arall. Y mae y gair calon yn yr Ysgrythyrau yn arwyddo amryw bethau. Y mae yn aml yn y Bibl yn myned am yr enaid. Yr oeddid gynt yn galw yr enaid yn galon, oblegid mai yn y galon, yn ol barn philosophyddion y Dwyrain, yr oedd trigfan yr enaid; ond y mae philosophyddion Ewropëaidd yn barnu mai yn yr ymenydd y mae eisteddfod yr enaid. Nid allaf fi bleidio yr un o'r barnau hyny, y naill yn fwy na'r llall, am nad ellir penderfynu ymha ran o'r corff y mae yn cartrefu; ond y mae yn eglur ei fod wedi ei gylymu wrth y corff, neu ei gysylltu â'r corff, a'i fod yn gweithio drwy yr holl ddyn mewn ffordd nas gŵyr neb. Yr wyf yn meddwl fod Aristotle, ar ol son am ranau tumewnol dyn, yn dywedyd fel hyn:—"Y

mae rhai," meddai ef, "yn dywedyd fod yn un o'r rhai hyn enaid. Os oes, nis gwn pa le na pha fodd, er y gwn fod y rhan hono mewn dyn." Yr wyf yn barnu fel philosophyddion yr oes bresennol, fod mwy o *organs*, hyny yw, mwy o ryw beiriannau gan y synwyr i weithredu yn yr ymenydd, nag sydd yn un rhan arall. Ond ni arosaf ar hyny yn bresennol. Wrth y "galon" y meddylir yr enaid mewn amryw ranau o'r Ysgrythyrau, megys yr ymadroddion canlynol: "Fy Mab," meddai Duw, "moes i mi dy galon;" hyny yw, moes i mi dy enaid. "Od oes neb yn cymeryd arno ei fod yn grefyddol ac heb attal ei dafod, twyllo ei galon ei hun," sef ei enaid ei hun, y mae, ac ofer yw crefydd hwnw. Y mae y gair calon hefyd weithiau yn myned am ryw un o gynneddfau yr enaid; weithiau am y gydwybod, megys yn y geiriau hyny: "Os ein calon a'n condemnia, mwy yw Duw na'n calon," sef ein cydwybod. Y mae calon hefyd weithiau yn golygu y serch: "Ceri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon;" hyny yw, â'th holl serch. Hefyd weithiau am yr ewyllys, ac weithiau am y côf. Y mae y gair weithiau yn arwyddo y naill, ac weithiau y llall o gynneddfau yr enaid. Wrth "galon" yn y fan hon, y mae i ni ddeall, calon i ofni Duw a'i wasanaethu; ac wrth y "ffordd," y mae i ni ddeall y dull o ofni a gwasanaethu Duw.

II. Pa beth ydym i'w ddeall wrth RODDI UN GALON AC UN FFORDD.

Nid ydym i ddeall mai rhoddi enaid newydd y mae, nac mai rhoddi cynneddfau neu alluoedd newyddion yn yr enaid y mae; ond dyna sydd i ni ei ddeall, rhoddi gwedd newydd ar yr enaid; rhoddi egwyddor newydd yn yr enaid; rhoddi anian newydd yn yr enaid, a'i wneuthur yn gyfranog o'r dduwiol anian. Wrth dynu y galon gareg o'r cnawd, a rhoddi calon o gig yn ei lle, y mae i ni ddeall, tynu y peth oedd yn peri ei bod fel careg, a rhoddi

peth ynddi ag sydd yn ei gwneyd fel cig. Rhoddi gwedd a bywyd arall i'r enaid ydyw rhoddi un galon ac un ffordd. Gellir golygu y rhoddi un galon ac un ffordd mewn dau ystyr, sef yn bersonol ac yn eglwysig.

1. Yn bersonol. "Mi a roddaf iddynt un galon ac un ffordd;" hyny yw, mi a roddaf i bob un o honynt un galon ac un ffordd; neu mi a wnaf eu calon a'u ffordd fel eu gilydd. Am y rhagrithiwr, nid yr un galon a'r un ffordd sydd ganddo ef; ond am y dyn duwiol diragrith, yr un yw ei galon a'i ffordd ef. Nid oedd y Phariseaid yn meddu yr un galon a'r un ffordd. Yr oedd eu ffyrdd fel beddau wedi eu gwyngalchu. Pa fath galonau oedd ganddynt? Rhai fel beddau yn llawn o esgyrn meirw. Yr oedd eu ffordd yn wahanol i'w calon. Felly y mae llaweroedd yn bresennol. Yn eu ffyrdd y maent yn Gristionogion, ond yn eu calon yn Atheistiaid. Y maent yn proffesu yr adwaenant Dduw, ond ar weithredoedd ei wadu y maent. Y mae eu ffrwythau allanol yn profi beth sydd o'u mewn. Y mae eu calon a'u geiriau yn groes i'w gilydd. "Yr ynfyd a ddywed yn ei galon, Nid oes un Duw." Y mae llawer yn proffesu cariad at Fab Duw tra y mae eu calon yn llawn o elyniaeth tuag ato. Y maent yn proffesu eu bod yn ffieiddio pechod, tra y mae eu calon yn ei fynwesu. Ond, medd Duw, "mi a roddaf iddynt un ffordd ac un galon." Pan ddelo Ysbryd Duw i wneyd crefydd yn yr enaid, fe wna y galon a'r ffordd yn un; gwna yr egwyddor a'r ymddygiad yn un; Efe a rydd iddynt un galon ac un ffordd. Y mae gan rai ddwy galon, neu ddau feddwl. Felly yr oedd y bobl yn amser Elias; yr oedd ganddynt un meddwl am fyned ar ol Baal, a'r meddwl arall am fyned ar ol Jehofah, Duw eu tadau. Yr oeddynt weithiau am weddïo ar Baal, ac weithiau am alw ar eu Duw; weithiau am ymroddi yn hollol i wasanaethu Baal, ac weithiau am ymroddi i addoli a gwasanaethu

Duw. Yr oeddynt yr un modd yn amser Hosea: eu calon un adeg am ymddiried yn eu Duw, bryd arall am fyned ar ol eilunod. Ond, medd yr Arglwydd yma, "Mi a roddaf iddynt un galon."

Felly y mae llawer yn ein dyddiau ni, weithiau yn meddwl mai crefydd sydd oreu, bryd arall yn dibrisio crefydd, ac yn meddwl mai pechod sydd oreu. Weithiau yn yr odfeuon gellid meddwl eu bod am fyned ar ol crefydd, ond yn y ffair a manau eraill y maent yn ymollwng i fyned ar ol gwagedd. Ond, medd yr Arglwydd, "Mi a roddaf iddynt un galon." Y mae gan lawer un yma ddwy galon, ond gweddïwn am i'r Arglwydd roddi iddynt un galon i'w ddewis a'i ddilyn ef yn unig, a'i wasanaethu ef yn hollol. Sonir gan Iago am ŵr ddauddyblyg ei feddwl, ei fod yn anwastad yn ei holl ffyrdd. Y mae yr hen ddiareb Gymraeg am ddyn y bydd llawer o dwyll ynddo, mai dyn â llawer o blygiadau ydyw. Wrth ddelio â'r dyn yna, meddant hwy, gochelwch ef; oblegid y mae llawer o blygiadau ynddo. Ond y mae Duw yn gwneyd yr enaid yn unplyg. Trowch y gwir Gristion ddengwaith y ffordd a fynoch, dadblygwch ef fel y mynoch, chwi a'i cewch o hyd yr un. "Mi a roddaf iddynt un galon ac un ffordd," sef ymarweddiad duwiol cyfatebol i'r egwyddor dduwiol sydd yn ei enaid.

2. Sylwaf ar yr addewid fel y mae yn perthyn i'r eglwys, neu yn un o bwys a budd cymdeithasol. Mi a roddaf un galon iddynt oll, ac un ffordd iddynt oll. Mi a roddaf yr un anian ynddynt i gyd, rhoddaf yr un egwyddor ynddynt oll, nes y byddont oll yn un, o'r un galon, ac o'r un ffordd. Felly yr oeddynt ar gychwyniad Cristionogaeth: "Lliaws y rhai a gredasant oeddynt o un galon, ac o un enaid." Pa nifer oeddynt? Pum' mil. Pa sawl calon oedd ganddynt? Un. Pa sawl enaid oedd yno? Pum' mil. Pa sawl egwyddor? Un. Pa sawl dyn oedd yno? Pum' mil.

Pa sawl anian? Un. Dyna gyflawniad mewn rhan o'r addewid hon, ond y mae cyflawniad llawnach eto i gymeryd lle. Cyflawnir yr addewid dros yr holl ddaear. "Mi a roddaf iddynt un galon."

Gellir hefyd gymhwyso hyn at holl gynneddfau yr enaid:—

1. Mi a roddaf yr un deall iddynt. Mi a agoraf eu deall, fel y deallont yr Ysgrythyrau. Mi a anfonaf fy ngweision i agoryd eu llygaid, ac i'w troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw. Mi a agoraf lygaid eu meddyliau; ac os agorir eu llygaid yn iawn, byddant oll o'r un meddwl am yr un Gwrthddrych. Gall dyn dall a dyn yn gweled, fod â dau feddwl am yr un gwrthddrych; ond os agorir llygaid y dall, byddant yr un meddwl. Gall dyn o olygon gwan a dyn o olygon da fod yn wahanol eu meddyliau, ond erbyn yr agorir eu llygaid eu dau, byddant o'r un meddwl. Felly am y rhai y mae Duw yn agoryd eu llygaid, y mae eu deall yr un. "Dy wylwyr a ddyrchafant lef; gyda'r llef y cydganant, canys gwelant lygad yn llygad, y dydd y dychwelo yr Arglwydd gaethiwed Sïon."

2. Mi a'u gwnaf o'r un farn a'u gilydd. Pan yn ysgrifenu ei lythyr cyntaf at y Corinthiaid, dywedai Paul: "Yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, trwy enw ein Harglwydd Iesu Grist, ddywedyd o bawb o honoch chwi yr un peth; ac na byddo ymbleidio yn eich plith, eithr bod o honoch wedi eich cyfan-gysylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn." Yr un farn y mae Duw yn roddi i bawb. Y mae gwahanol farnau, ond nid Duw sydd yn eu rhoddi. Y mae yn wir nad yr un doniau na'r un amgyffredion y mae yn roddi i bawb, ond yr un farn y mae yn roddi i bawb. "Nid yw Duw yn awdwr anghydfod, ond tangnefedd, fel yn holl eglwysi y saint. "Mi a roddaf iddynt un galon;" hyny yw, mi a roddaf iddynt i gyd oll yr un farn.

3. Mi a roddaf yr un ewyllys iddynt i gyd. Mi a'u dygaf i gyd i weddïo a dywedyd, "Gwneler dy ewyllys ar y ddaear:" a phan y gwneler eu hewyllys hwy yr un â'm hewyllys i byddant yr un ewyllys a'u gilydd. Pan y delo dyn i fod o'r un ewyllys â Duw yn Nghymru, a dyn arall yn cael ei ddwyn i'r un ewyllys â Duw yn America neu Affrica, hwy fyddant yr un ewyllys, yr un dymuniad a'u gilydd. "Mi a roddaf iddynt un galon," hyny yw, mi roddaf yr un ewyllys iddynt oll.

4. Mi a roddaf iddynt yr un serch, neu yr un cariad. Fel hyn yr ysgrifena Paul at y Philippiaid: "Od oes gan hyny ddim dyddanwch yn Nghrist, od oes dim cysur cariad, od oes dim cymdeithas yr Ysbryd, od oes dim ymysgaroedd a thosturiaethau; cyflawnwch fy llawenydd, fel y byddoch yn meddwl yr un peth, a'r un cariad genych, yn synied yr un peth." "A'r Arglwydd dy Dduw a enwaeda dy galon a chalon dy hâd i garu yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon." Mi a roddaf yr un serch a chariad ynddynt. Mi a'u dygaf i gyd i fy ngharu, ac yna fe fydd yr un serch ynddynt.

5. Mi a buraf eu cydwybod. Yr wyf yn dywedyd o chwith pan yn son am buro y gydwybod, cyn son am ei deffro. Yr ystyr yw, mi a ddeffroaf eu cydwybod trwy yr un Ysbryd, a thrwy yr un gyfraith, a mi a buraf ac a heddychaf eu cydwybod drwy yr un gwaed. Mi a'u dygaf i orphwys mewn tawelwch yn yr un noddfa. "Mi a roddaf iddynt un galon."

Hefyd mi a roddaf iddynt yr un FFORDD. Wedi rhoddi yr un galon, a'r un farn, a'r un anian, a'r un serch, a'r un ewyllys, a'r un duedd, a'r un arweinyddiaeth, wedi eu dwyn i'r un llwybrau, fe fydd yn hawdd iddynt fod yr un ffordd.

1. Mi a'u dygaf i ddywedyd yr un peth. Na, meddai rhyw un, dwyn pawb i ddywedyd yr un peth! Ni ddaw hyny byth i ben. Wel, medd Duw, os anhawdd yw hyn yn

eich golwg chwi, nid yw yn anhawdd i mi. Pa fodd, meddai rhyw un, y ceir hyny o amgylch? Y mae yma lawer o frodyr yn y gynnulleidfa heno, ac nid yw yn bosibl eu cael oll i ddywedyd yr un peth. Pa fodd y gellir cael hyny? Wel, mi a'ch dysgaf fi chwi pa fodd y daw hyny i ben; eithr nid allaf fi ond dysgu mewn hanes, am hyny bydded i Ysbryd Duw ddysgu mewn gweithrediad. Dyna pa fodd y ceir pawb i ddywedyd yr un peth, cael pawb i ddywedyd *hwn* [gan ddangos y *Bibl* yn ei law], ac yna ond cael pawb i ddywedyd y *Bibl*, hwy fyddant oll yn dywedyd yr un peth. Geiriau *newyddion*, dyna sydd yn dyrysu pob peth. Dyna ddyrysodd adeiladu Tŵr Babel. Yr oedd ganddynt cyn hyny un enw ar yr un peth, ond wedi hyny fe ddaeth ganddynt ddeg a thriugain o enwau ar yr un peth, ac fe ddyrysodd hyny eu gwaith yn ceisio adeiladu eu tŵr. Dyweded pawb eiriau y Bibl, ac yna fe ddaw pawb i ddywedyd yr un peth. Yna "myfi a adferaf i'r bobl wefus bur." Darllenwch yn iawn, medd rhyw un: yr wyf yn meddwl fy mod yn darllen yn iawn. Edrychwch Sephanïah iii. 9. Nid ydych yn dywedyd yn rammadegol. Y mae y gair pobl yn y rhif lïosog, ac y mae y gair gwefus yn y rhif unigol: a pha gysondeb sydd yn hyny? Wel, yr addewid ydyw, "Mi a adferaf i'r bobl wefus bur." Pa faint yw rhif y bobl? Nis gwn i ddim. Pa sawl gwefus sydd ganddynt? Un. Un wefus rhyngddynt oll. Pa bobl a olygir? Holl deulu Duw. Pa sawl gwefus? Un. Yna "mi a adferaf i'r bobl wefus bur, fel y galwo pob un o honynt ar enw yr Arglwydd, i'w wasanaethu ef âg un ysgwydd."

2. Mi a'u dygaf i arfer yr un moddion crefyddol. Nid rhai yn aberthu i Dduw a rhai yn aberthu i dduwiau eraill fydd hi y pryd hyny, ond pawb yn addoli y gwir Dduw ac yn aberthu iddo. Bydd pawb wedi dyfod i ddewis a dilyn yr un drefn; a'r drefn hono fydd pregethu yr efengyl, a

gweinyddu ei hordinhadau. Bydd pawb wedi dyfod i ddewis yr un Gwrthddrych, a phawb wedi dyfod i ddilyn yr un drefn.

Y pryd hyny bydd yr eglwys yn ei gogoniant. Gweddïodd Crist fwy am undeb ei eglwys nag am ddim arall. Pa sawl gwaith y mae yn dywedyd yn ei weddi lawn, daer, dyner yn Ioan xvii., "Fel y byddont oll yn un." Ac un o'i ddybenion pan yn marw ar y groes oedd, fel y dygai yn un holl blant Duw. Bu farw fel y gallai grynhoi ynghyd y pethau yn y nefoedd a'r pethau ar y ddaear. Bydd hyn yn harddwch i Gristionogaeth, yn ogoniant i'r eglwys, yn gyflawniad o'r addewidion, yn fuddugoliaeth ar Satan, ac yn nerth yn erbyn ei deyrnas. Am hyny parhewch i weddïo, Arglwydd, dyro un galon ac un ffordd i'th wasanaethu di, a hyny o un galon ac yn yr un ffordd. "Wele mor ddaionus ac mor hyfryd yw trigo o frodyr ynghyd! Y mae fel yr enaint gwerthfawr ar y pen, yn disgyn ar hyd y farf, sef barf Aaron; yr hwn oedd yn disgyn ar hyd ymyl ei wisgoedd ef: fel gwlith Hermon yn disgyn ar fynyddoedd Sïon; canys yno y gorchymynodd yr Arglwydd y fendith, sef bywyd yn dragywydd." Pan y byddont yn trigo ynghyd y mae yr olew yn disgyn arnynt oll o'r pen; ond pan na fyddont yn trigo ynghyd, y mae yr olew yn disgyn ar un cŵr, ac y mae y cŵr arall heb ddim. Yr un gwaith y mae yr Arglwydd yn ei wneuthur ar y rhai a gedwir: yr un Ysbryd sydd yn eu hargyhoeddi, yr un moddion, a'r un Duw sydd yn gweithio y cyfan; am hyny, pa fodd na byddant yn un? Y maent yn tynu tua'r un wlad, cydweithiant i gario ymlaen yr un achos; ac am hyny y maent oll o'r un galon ac o'r un ffordd.

Enwn rai pethau i'w gochel, ag sydd yn niweidiol i hyn:—

1. Gochelwch y ffyrdd newyddion o luniad a dyfais ddynol. Dilynwch ffurf yr ymadroddion iachus sydd yn

ngair Duw. Duw a lefarodd y Gair, adlefwn ninnau ei eiriau ef.

2. Gochelwch falchder ac uchder a mawredd ysbryd, heb geisio o bawb yr eiddo ei hunan, ond Crist. O enaid, os derbyni y cynghor i geisio yr eiddo Crist, deui ar yr un pryd i'r un galon a'r un ffordd a'r miloedd sydd wedi ac yn ei dderbyn. Yr un farn a'r un olwg fydd ganddynt oll am iawnder y gyfraith ac adgasrwydd pechod. Yr oedd pob un o'r tair mil yr un farn a theimlad am eu cyflwr colledig, ac am drefn yr achub. Dyna sydd yn rhwystro undeb, dynion annuwiol yn ymlusgo i'r eglwysi heb fod yr un ysbryd cariad ynddynt. Dynion cnawdol yn pregethu y gair; y rhai hyny yn ochri o du y cnawd, ac yn ceisio pob da o du dyn; a chan fod geiriau Duw yn erbyn eu barnau, y maent yn ceisio geiriau newyddion er twyllo. Chwythed yr anadl o'r nef ar yr holl wersylloedd, ac yna hwy fyddant yn un. Deued yr argyhoeddiadau a'r cysuron o'r un ffynnon ar y pregethwyr, sef tywalltiadau Ysbryd y gras, a thywallter yr Ysbryd o'r uchelder ar ein cynnulleidfäoedd, ac yna hwy fyddant yn un. Pan y caffom ddynion syml, agos at Dduw, i bregethu y gair, ac arddeliad yr Ysbryd Glân, fe fydd calonau yn cydymglymu yn un.

Y mae gogoniant a dyddanwch anfeidrol yn y testun, "Myfi a roddaf." Ni byddai yn werth pregethu oni b'ai yr addewid am hyny. "Myfi a roddaf iddynt un galon." Diolch am y fath addewid. "Mi roddaf fi iddynt un galon." Ië, ni welsant y perygl; ânt i ddystryw dan eich dwylaw. Ni daranwn ni uwch eu penau, hwy ânt i ddystryw dan eich taranau; ond y calondid yw, fod Duw yn dywedyd, "Mi roddaf fi iddynt un galon." Wel, os rhoddi di galon, fe ddaw y cybydd yn hael, y godinebwr yn ddiwair, y cablwr yn weddïwr, y gwammal yn sobr. Os rhoddi di galon, caiff Crist ei dderbyn a'i barchu. Dyna yw dy waith, a dyna yw dy addewid. Diolch am hyny.

"Mi a roddaf iddynt." Y mae yma bobl, medd rhyw un, na welir trefn arnynt byth. Beth wyddost ti? Wel, onid ydynt wedi gwrando cannoedd o bregethau, ond y maent mor annuwiol ag erioed. Beth ellir wneyd â'r fath rai? "*Mi* a roddaf"—mi a roddaf iddynt *galon*—un galon. Un odfa eto? Fe fyddai hyny yn drugaredd. "Mi a roddaf iddynt un galon;" bydd hyny yn drugaredd fwy. Un diwrnod yn rhagor i fyw? Y mae rhoddi diwrnod yn drugaredd, ond y mae rhoddi calon yn drugaredd fwy. Beth a wnant hwy ar ol hyny? "Fy ofni byth;" a bydd hyny "er lles iddynt, ac i'w meibion ar eu hol." Wel, gan mai Duw sydd yn rhoddi, beth a dâl y pregethu, medd ambell un? O tâl; oblegid drwy y pregethu y mae Duw yn rhoddi. Dyna ei drefn. Y moddion a ordeiniodd ydyw rhoddi yr un galon drwy bregethiad yr efengyl.

"Duw, tyr'd â'th saint o dan y ne',
O eitha 'r dwyrain bell i'r de,
I fod yn dlawd, i fod yn un,
Yn ddedwydd ynot ti dy hun.

"Un llais, un swn, un enw pur,
O'r gogledd fo i'r dwyrain dir,
O fôr i fôr, o gylch y byd,
Sef enw Iesu oll i gyd."

## PREGETH XXXI.

### EDRYCHIAD CRIST YN FODDION ADFERIAD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN ELIAS.

*Yn Llanidloes yn 1821.*

LUC xxii. 61: "A'r Arglwydd a drôdd ac a edrychodd ar Pedr."

NID oes o fewn y Bibl yr un hanes trymach na hanes cwymp Pedr. Byddaf yn teimlo mwy o alar wrth ddarllen hanes cwymp Pedr nag wrth ddarllen hanes boddi yr hen fyd, nag wrth ddarllen hanes llosgi Sodom a Gomorrah â thân a brwmstan o'r nefoedd. Ni roddwyd hanes cwympiadau dynion duwiol yn y Bibl er difrïo eu henwau da, nac ychwaith er calonogi duwiolion eraill i fyned i'r un pyllau; ond dyna yr amcan o roddi y fath hanesion, er rhybuddio duwiolion ymhob oes a gwlad rhag anturio i'r un lleoedd peryglus lle y llithrasai eraill; a bendithiodd Duw hanes llithriadau a chwympiadau duwiolion y Bibl, fel na chwympodd neb duwiolion yn union yn yr un modd a hwy, o leiaf yn yr holl amgylchiadau. Nid wyf yn gwybod i'r un dyn duwiol syrthio yn hollol yr un modd a Lot, nac yn gwbl fel Dafydd, nac yn gwbl ychwaith fel Pedr. Bendithiwyd hanes cwympiadau duwiolion fel na ddarfu i dduwiolion eraill syrthio yr un modd i'r un man a'r rhai ag y mae eu hanes genym. Y mae hanes cwymp Pedr yn un o'r hanesion trymaf yn holl hanesion cwympiadau duwiolion; wrth ystyried pwy ydoedd, a'r gwasgfeuon yr oedd ei Feistr

ynddynt, a'r amser y gwadodd efe ei Feistr, ac yn llŷs pwy y gwadodd efe ef. Pan ystyrir yr amgylchiadau deallir fod mwy o echryslonrwydd yn ei gwymp nag y gall tafod adrodd na chalon ddychymygu. Y mae y pedwar Efengylwr yn crybwyll am y cwymp, ond nid oes yr un o honynt ond Luc yn son am ei adferiad; a'r hyn a grybwyllir yn ein testun oedd yr unig foddion o'i adferiad. Y mae camfarnau am foddion ei adferiad. Dywed rhai mai caniad y ceiliog oedd moddion ei adferiad, ond y mae hyny yn gamgymeriad, oblegid fe wadodd ar ol i'r ceiliog ganu unwaith a dwywaith; ac fe dyngodd ac fe regodd ar ol i'r ceiliog ganu. Edrychiad Crist arno oedd yr unig foddion o'i adferiad; ac y mae geiriau ein testun yn brawf o hyny, a dichon yr unig brawf sydd genym.

Sylwaf ar ddau beth :—

I. Y PETHAU MWYAF NODEDIG YN NGHWYMP PEDR, neu yn amgylchiadau ei gwymp; ac yn

II. Y MODDION A ARFERODD CRIST ER EI ADFERIAD; ac yna ychydig addysgiadau i ni.

I. RHAI O'R PETHAU MWYAF NODEDIG YN NGHWYMP PEDR.

1. Yr achlysur o'i gwymp oedd bod yn ddiofn mewn cwmni drwg. Buasai ei berygl yn fawr pe na buasai ond un o'r ddau beth, ond yr oedd y ddau. Nid yn unig yr oedd mewn cwmni drwg, ond yr oedd yn ddiofal yno. Yr oedd bod yn nghanol cwmni drwg yn beryglus pe buasai heb fod yn ddiofal; ac yr oedd bod yn ddiofal yn beryglus pe na buasai mewn cwmni drwg; ond yr oedd y ddau beth wedi cydgyfarfod yn Pedr. Y mae yn anmhosibl weithiau peidio myned i fysg cyfeillion drwg yn y byd drwg hwn; ond os y'n gelwir gan Ragluniaeth i'w cyfeillach, ac i ni fod yn wyliadwrus yno, y mae gobaith y deuwn ni oddiyno â'n dillad yn lân, ac heb esgyrn briwedig; ond os awn ni yn ddianghenrhaid, neu o'n bodd a'n dewisiad i'w cyfeillach,

bydd perygl na ddeuwn ni ddim oddiyno â'n dillad yn lân, ac heb ein clwyfau. Aeth Pedr i blith cyfeillion drwg heb anghen am hyny. Os dywedir fod Pedr o gariad at ei Feistr yn ei ganlyn i'r llys, atebaf nad oedd un argoel o hyny; oblegid pe buasai yn myned o gariad at ei Feistr, dylasai fod yn ymyl ei Feistr. Dylasai sefyll gerllaw i draethu oes ei Feistr, i adrodd rhinweddau ei Feistr, a gwyrthiau ei Feistr, i fynegu athrawiaethau ei Feistr, ac i egluro diniweidrwydd ei Feistr; ond nid oedd yno neb i draethu oes y Gwaredwr pan o flaen y frawdle. Pan y gofynwyd iddo am ei athrawiaeth cyfeiriodd Crist y llys at y rhai a'i clywsant ef, sef at ei wrandäwyr; a dichon iddo gyfeirio dros ei ysgwydd at Pedr; a dyna y fynyd, mae'n debyg, y dywedodd yr eneth, 'Paham nad ei di ymlaen ato? Ti clywaist ti ef lawer gwaith;' ond gwadodd yntau, a dywedodd nad oedd yn ei adwaen. Hunan Pedr a achosodd ei ddiofalwch, a'i ddiofalwch barodd iddo anturio i gwmni drwg, a bod mewn cwmni drwg a achosodd ei gwymp.

2. Fe gwympodd Pedr yn wyneb y demtasiwn gyntaf, a hono yr un leiaf. Pe buasai yr archoffeiriaid yn anfon rhywrai ato i'w ddal i'w groeshoelio, buasai rhyw esgus ganddo i'w roddi dros wendid y cnawd; ond nid oedd ganddo fath yn y byd o esgus, dim ond morwynig, a hono yn gellweirus yn gofyn iddo, ac yntau yn wyneb gofyniad cyntaf morwynig yn gwadu ar unwaith. Gwadodd ei Feistr yn wyneb y demtasiwn gyntaf, a hono yn un fechan.

3. Gwelwn y dull fel y mae y naill bechod yn caledu y galon, ac yn palmantu y ffordd i gyflawni pechod arall. Os äi di i fyw mewn pechod, egyr hwnw y ffordd i ti gyflawni pechodau eraill. Pe buasid yn gofyn i Pedr ychydig cyn hyny, a wnai efe dyngu a rhegu, atebasai yn union y dyoddefai farwolaeth cyn y gwnai y fath beth; ond er hyny efe a wnaeth. Gwnaeth gwadu y tro cyntaf ef yn ddigon

caled i wadu yr ail waith, a gwnaeth gwadu yr ail waith ef yn ddigon caled i wadu y drydedd waith, ac erbyn y drydedd waith yr oedd yn ddigon caled i dyngu a rhegu; ac ni wyddys yn y byd i ba le yr aethai oni buasai i'w Feistr edrych arno. Os bydd i ddyn ymdreiglo mewn unrhyw bechod, nid oes dim ymddiried iddo na wna ymdroi mewn pechod mwy os câ ei demtio i hyny.

4. Gwelwn nad yw y rhybuddion goreu na'r moddion addasaf ddim yn ddigonol i attal rhag pechu, nac i adferu ar ol pechu, heb weithrediad neillduol Duw drwy y moddion. Ni chafodd neb erioed ei rybuddio yn well nag y cafodd Pedr, ac ni chafodd neb erioed well rhybuddiwr. Ië, medd rhywun, yr oedd tair blynedd er pan gafodd y rhybudd. Na, y dydd o'r blaen ydoedd. Ië, trwy ddammeg; nage yn eglur. Ië, rhybudd cyffredinol ydoedd; nage, un personol, wrth Pedr ei hun. Ië, ei rybuddio fod perygl iddo fyned i ryw bechod; nage, ond y pechod a enwyd, sef gwadu ei Arglwydd. Ië, y syrthiai rywbryd; nage, y nos hono. Cafodd ei rybuddio gan y rhybuddiwr goreu, yn y modd egluraf, ac yn y modd cadarnaf a llawnaf. Enwyd yr amser y cwympai, a'r pechod y cwympai iddo; ac eto er y cyfan cwympo a wnaeth. Gallasem ni feddwl y buasai caniad y ceiliog y tro cyntaf yn ei argyhoeddi, ac y buasai yn tori allan i lefain, "Dyna hi wedi dyfod, yn ol fel y dywedodd fy Arglwydd wrthyf." Ond myned ymlaen wedi hyny a wnaeth. Dyna y ceiliog yn canu eilwaith, ac yntau yn myned ymlaen yn fwyfwy caled; nid oedd dim yn effeithio arno. Nid yw y moddion goreu ddim yn ddigonol heb weithrediadau neillduol Duw trwy y moddion.

Cymerwn rybudd oddiwrth gwymp Pedr i ochelyd cyfeillach annuwiolion. Gochelwn feddyliau culion am ein brodyr, a meddyliau mawr am danom ein hunain. Yr oedd meddwl mawr gan Pedr am dano ei hun pan y taerodd ef yn wyneb ei Feistr tra yr oedd yn awgrymu yn

garedig y byddai i un o honynt ei wadu. Wel, meddai Pedr yn ei galon, 'Ni wn i ddim am y rhai hyn, y Phylip yma, y Matthew yma, a'r Iago yma; ond y mae genyf fi gymaint o grefydd, fel na bydd i mi ei wadu pa beth bynag a wnant hwy. Pwy bynag a'th wada ni wadaf fi di byth; pe gorfyddid i mi farw, ni'th wadaf byth.' Y mae y dyn sydd â meddyliau mawr ganddo am dano ei hun, yn mynwesu bob amser feddyliau culion am ei frodyr.

II. Moddion adferiad Pedr: "A'r Arglwydd a drodd, ac a edrychodd ar Pedr." Rhyw edrychiad rhyfedd oedd hwnw: edrychiad a drodd y gallestr yn llyn dwfr; edrychiad a blygodd y wàr oedd fel y gïeuyn haiarn; edrychiad a doddodd yr ewyllys gyndyn; edrychiad a dynodd yr uchelfrydig i lawr i'r llwch. Beth allasai fod yn yr edrychiad? meddai rhywun. Un rhyfedd, effeithiol iawn ydoedd. Ni ddywedodd efe yr un gair, dim ond edrych. Gallai Ef edyrch arnom ninnau, nes ein dwyn i'n lle; i'r lle y dylem fod. Yr oedd rhyw lefaru rhyfedd yn ei edrychiad. Yr oedd yn ei edrychiad fwy o iaith, fwy o eiriau, nag a fedrem ni adrodd cyn ein bedd. Pa beth a ddywedodd ei edrychiad? Meddyliwn yn

1. Fod cerydd yn ei edrychiad. Y fynyd yr oedd y ceiliog yn canu y drydedd waith, y trodd yr Iesu fel pe buasai yn dywedyd,—'Pedr, a wyt ti yn cofio ein hymddyddan ddoe? A wyt ti yn coelio ac ystyried y lle yr wyt? Och, Pedr! ai tydi a glywaf yn rhegu? Tydi, fy nysgybl, yn tyngu ac yn rhegu! Tydi, y goreu o'm holl ddysgyblion yn methu sefyll o flaen morwynig! Ai tydi, ag oedd ddoe yn marw drosof, sydd yn fy ngwadu? Ai hyd yna yr ä dy grefydd? Ai hyd yna y daliodd dy broffes gref y gwneit bethau rhyfedd drosof?' Daeth edrychiad Iesu âg ef i'r llwch mewn mynyd. Ac nis gwn i beth ddaethai o Pedr, na buasai ei synwyrau yn dyrysu, os nid ei galon yn curo i angeu, oni buasai

2. Fod yn ei edrychiad gariad tyner a thosturi mawr. Meddyliwn fod y peth canlynol yn edrychiad Iesu, onidê y buasai Pedr yn gwallgofi: fod yn ei edrychiad awydd i'w adferu. Fel pe buasai yn dywedyd, 'O Pedr, ai yna yr wyt ti? Fy anwyl ddysgybl, ai yna yr wyt ti? O Pedr, Pedr! ai tydi a glywaf yn fy ngwadu drwy lwon? Ai tydi a glywaf yn fy mradychu yn y fan yma? O Pedr, Pedr! nid dyna a haeddais oddiar dy law di?' Byddaf yn meddwl yn aml am ddywediad Cesar am Brutus, pan oeddynt yn ei ladd yn ei deml. Yr oedd un Brutus ag oedd wedi bod yn gyfaill mawr i Cesar wedi cael ei ddenu a'i droi gan elynion Cesar i fod yn ei erbyn. Pan ddeallodd Cesar bod gan Brutus bicell lymach nag un o honynt, a'i fod yn ei brathu i'w galon, fe drodd Cesar yn ei ing a gwelodd Brutus ymysg ei elynion, a llefodd, "Och, a yw fy nghyfaill Brutus ymysg y lleiddiaid!" Meddyliwn fod yr Arglwydd Iesu yn dywedyd, 'Beth! ai fy anwyl Pedr sydd ymysg fy lleiddiaid!' O, mae Pedr yn fy nyrysu yn fwy na neb. O, y mae gwadiad Pedr yn fwy poen i mi na thynu blew fy nghernau. Y mae gwadiad Pedr yn fwy poen na'r fflangellu. Y mae gwadiad Pedr yn fwy llymdost na phigau y goron ddrain. O, y mae gwadiad Pedr yn fwy anhawdd ei oddef na'r poeredd yn yr wyneb. O! y mae gwadiad Pedr yn myned yn frath ddyfnach i'r galon na dim ydwyf yn ddyoddef oddiar law neb arall. Pa beth! fy anwyl Pedr ymysg fy llofruddion!

3. Yr oedd yn ei edrychiad gynnygiad o gymhorth a maddeuant. Fel pe buasai yr Arglwydd Iesu yn dywedyd,—'O Pedr bach, anwyl! Yr wyf fi yn myned dan dy feïau di. Ni wadaf fi mo honot ti. Mi a dy olchaf eto oddiwrth y brynti yna.'

4. Yr oedd yn ei edrychiad gynghor iddo. Fel pe buasai yr Iesu yn dywedyd wrtho, 'Edrych di i ba gyfeillach yr äi, a gochel feddwl yn fawr am danat dy hun, a

meddwl yn wael am dy frodyr; a cheisia gadw yn agos at dy Feistr.'

5. Meddyliwn fod yr edrychiad fel pibell sanctaidd yn cario edifeirwch i galon Pedr. Ennynodd ynddo wir edifeirwch. Y mae yn debyg ei fod yn wylo yn chwerwdost o hyd o'r fynyd hono hyd y trydydd dydd, ac na fedrai ymddangos ymysg y dysgyblion; a phan y mae yr Arglwydd Iesu yn gorchymyn taenu y newydd am ei adgyfodiad, bu raid iddo grybwyll Pedr wrth ei enw. Paham yr wyt yn enwi Pedr? Wel, am nad yw Pedr gyda hwynt. Y mae ef yn rhywle o'r golwg yn wylo. Cofiwch ddyweyd wrth Pedr. Hefyd y mae y cateceisio fu ar Pedr ar ol adgyfodiad Iesu, yn brawf o'i edifeirwch. "Simon mab Jona," meddai'r Iesu. Pedr yr apostol? Na, na, "Simon mab Jona." Mynaf ddwyn y gŵr i'r man isaf. Simon Pedr? Na, ni ddefnyddiaf yr enw a roddais arno, er iddo weled ei fod wedi colli yr enw a'r swydd, a'r cwbl a gafodd genyf, wrth iddo fy ngwadu; ac mi wnaf iddo gofio yr enw a gefais arno wrth làn Môr Galilea. Pa beth bynag a gafodd yn fy nghwmni y mae wedi ei bechu ymaith. Mi a wnaf iddo gofio pa fath un oedd ef cyn i mi ei alw. "Simon mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i yn fwy na'r rhai hyn?" Dyna aeth â thi i lawr—meddwl mawr am danat dy hun, a meddyliau gwael am dy frodyr. "A wyt ti yn fy ngharu i yn fwy na'r rhai hyn?" Bum yn synu wrth atebiad Pedr. "Ydwyf, Arglwydd, ti a wyddost fy mod yn dy garu di." Dywed, Pedr, dy fod yn dy garu di yn fwy na'r rhai hyn. Na ddywedaf mo hyny byth mwy. "Yr wyf yn dy garu di." Simon, fel pe buasai yr Iesu yn dyweyd, mynaf dy brofi yn fwy na hyn: "Simon, mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i?" Oes ynot ti rywbeth heblaw proffes? "Ydwyf, Arglwydd; yr wyf yn dy garu di." Efe a ofynodd iddo y drydedd waith, "Simon, mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i?" Erbyn hyny gwelaf bob gewyn i Pedr yn crynu, ac

yntau ar lewygu, a syrthiodd o flaen ei Feistr, ac a dristäodd pan ofynodd efe iddo y drydedd waith. Fe gofiodd am y gwadu deirgwaith; ac fe gyfeiriodd at Hollwybodaeth Iesu, fel pe buasai yn dywedyd, 'Ni wn i ti, Arglwydd, fy ngharu i, ond ti a wyddost fy mod i yn dy garu di. Ti wyddost pa fodd y mae yn fy nghalon. Pa le bynag y bûm, yr wyf yn dy garu di.' Y mae ffrwyth edifeirwch neillduol yn y fan yna; ac yr oedd eilwaith amlygiad hynod o edifeirwch yn ymddygiad Pedr wedi hyny. Ni wadodd efe ei Arglwydd byth wedi hyny. Ni roddwn i mo'r ceiniog y dunnell am edifeirwch y bobl ydynt ar ol meddwi yn edifarhâu, ac yna yn meddwi drachefn. Ni thâl yr edifeirwch hwnw ddim. Fe gollir pob un sydd yn byw ar yr edifeirwch hwnw. Y mae gwir edifeirwch yn gwella dyn o'r gwaelod i fyny. Meddyginiaethodd ei edifeirwch ef, fel na wadodd ei Arglwydd byth ar ol hyny. Ië, ni bu mewn temtasiwn wedi hyny, medd rhyw un. Do, do, gryfach hefyd fil o weithiau; ond yr oedd wedi ei gwbl wella drwy ei edifeirwch. Daeth dydd y Pentecost, pan yn nghanol y gwawd mawr a'r bobl yn dyweyd ei fod yn feddw; pwy neidiodd i fyny ond Pedr; a than ei bregeth argyhoeddwyd tair mil. Hefyd pan gymerwyd ef gydag eraill i'w fflangellu, gwaeddodd yn union, "Ai cyfreithlawn yw ger bron Duw i wrando arnoch chwi ac nid ar Dduw? Rhaid yw ufuddhâu i Dduw yn fwy nag i ddynion." Ac efe oedd un o'r rhai a ddaethant allan o'r cynghor yn llawen am gael eu cyfrif yn deilwng i ddyoddef anmharch er mwyn enw Crist; ac efe a fwriwyd wedi hyny i'w groeshoelio yn achos ei Feistr; ac yr oedd mor wrol, medd rhai, fel y gwaeddodd pan yn cael ei hoelio, "Gormod, gormod; cael marw yr un modd a'm Meistr. Gwnewch ryw wahaniaeth; trowch y groes â'i phen i lawr, neu rywfodd arall. Y mae yn ormod anrhydedd i mi gael marw yr un modd a'm Meistr." Ac fe'i tröwyd felly, medd haneswyr. Y mae y gwir edifeir-

iol yn dal ati hyd y diwedd. Y mae y bobl sydd yn meddwl eu bod wedi cael gwir edifeirwch, ac wedi hyny yn syrthio i'r un pechodau, yn eu twyllo eu hunain. Y mae gwir edifeirwch yn llwyr wella y cyfryw.

Gwnaf yn awr ychydig gasgliadau oddiwrth yr hyn a ddywedais :—

1. Gwelwch dirioneb Crist tuag at ei weision yn eu llithriadau a'u camweddau. Meddyliwch mor dirion y mae at ei was Pedr pan oedd wedi tori ei esgyrn mewn rhan drwy fyned i blith cyfeillion drwg heb ddim anghenrhaid am hyny. Y mae yn rhoddi ei esgyrn yn eu lle ac yn ei feddyginiaethu. Os rhoddwch eich hunain yn weision iddo, cewch ef y Meistr tirionaf a welsoch erioed.

2. Fe allai fod rhyw un yn barod i ddyweyd, 'Ië, gŵr duwiol oedd Pedr, ond un annuwiol ydwyf fi.' Wel, os oedd Iesu mor barod i dderbyn Pedr ar ol myned i'r fath bydew, paham nad yw yn barotach i dderbyn yr annuwiol pan ddychwelo o'i ffyrdd drygionus? Am hyny mi a weddïaf, "Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gŵr anwir ei feddyliau, a dychweled at yr Arglwydd; ac efe a gymer drugaredd arno, ac at ein Duw ni o herwydd efe a arbed yn helaeth."

3. Gallai hefyd fod rhyw Antinomiad yn barod i ddadleu oddiwrth yr hanes am gwymp Pedr,—'Y mae'n dda genyf fi feddwl am ei gwymp, oblegid yr wyf finnau yn cwympo yn aml.' Wel, enaid, gochel ryfygu wrth feddwl a dyweyd hyny. Nid wyt ti ddim yn debyg i Pedr. Ni chwympodd Pedr ddim ond unwaith. 'Y mae hyny yn wir,' medd y dyn, 'fy mod yn cwympo yn aml, ond y mae Pedr wedi syrthio fel finnau; fe allai y cedwir finnau fel y cadwyd Pedr.' Na, yn wir, y mae arnaf ofn na wneir. Syrthiodd un dysgybl arall yr un pryd a Phedr, ac fe ddamniwyd hwnw. Pan y byddi di ar lawr, pwy all ddywedyd pa un o'r ddau ydwyt? Fe syrthiodd Judas ac fe'i collwyd ef; a syrthiodd

Pedr, ond fe'i cadwyd ef. Pan y byddo proffeswr crefydd ar lawr, nid oes neb ar y ddaear all ddywedyd pa un ai Pedr ai Judas ydyw. Y mae gwrthgilwyr ar hyd y byd na chedwir mo honynt byth. Y mae gwrthgilwyr ar hyd y ddaear, pe baem yn gwybod pwy ydynt, na byddai waeth ceisio pregethu i Beelzebub nag iddynt hwythau. Byddai yn bechod gweddïo drostynt, ac yn bechod gofyn am un drugaredd iddynt. Y mae gwrthgilwyr yn y byd yn yr un sefyllfa a'r damnedigion, ond eu bod eto yn myd y trugareddau. O eneidiau gwerthfawr! ystyriwch hyn.

4. Yr wyf yn meddwl dyweyd ychydig wrth y gweiniaid, y rhai ydynt wrth feddwl am gwymp Pedr yn ddigalon iawn; ac yn gofyn, 'Os syrthiodd Pedr, beth ddaw o honof fi? Ni ddaliaf fi ddim o flaen y demtasiwn. Ni wyddoch ddim mor wan ydwyf. O'r bron yr wyf yn gallu byw. Y mae pob temtasiwn bron a'm cael i lawr; pob profedigaeth fel rhyw dòn yn llifo dros fy mhen. Yr wyf ar lithrigfa bron syrthio i lawr.' Enaid, gwrando fynyd bach yn nghanol dy ofnau. Nid y gweiniaid sydd yn syrthio. Pwy ynte sydd yn syrthio? Y rhai cryfion. Nid am ei fod yn wan yr aeth Pedr i lawr, ond am ei fod yn teimlo yn gryf. Y mae y gweiniaid yn gallu sefyll, a hyny drwy bwyso ar Un arall. Y mae y gweiniaid yn ymddiried i'r Un ag y mae digon o nerth ynddo i'w cynnal. Os y brawd gwan wyt ti, fe'th gynnelir. Am hyny paid a digaloni yn wyneb dy wendid. Gelli ddywedyd, "Pan wyf wan, yna yr wyf gadarn."

5. Gan fod edrychiad Iesu mor effeithiol, beth fyddai i ni yn awr weddïo am iddo edrych o uchelder ei gysegr ar luoedd o ddynion. Ped edrychai ef, nid oes yma yr un galon galed a ddaliai yn wyneb ei edrychiad. Edryched ef arnom yn ei dosturi.

6. Wel, meddai rhywun, 'Oni ddywedasoch chwi am wrthgilwyr na waeth gweddïo dros Beelzebub na throstynt

hwythau.' Do, yr wyf yn ofni fod rhai felly yn y byd, ond ni wn pwy ydynt. 'Wel,' medd y dyn, 'gwrthgiliwr ydwyf fi, ac yr wyf yn ofni fy mod yn un o'r rhai hyny.' Wel, dywed dy brofiad. 'O, truenus wyf fi. O na chawn ddyfod o'r man lle yr wyf! O na chawn olwg eto ar waed y groes!' Gwaed y groes! A oes genyt ti ryw barch i hwnw? 'O, oes, oes; ac O na chawn gymhwysiad o hono. O na chawn drachefn o orfoledd yr iachawdwriaeth. O na chrëid calon lân ynwyf, ac nad ymwelai Duw â'm calon.' Wel, enaid, ymgysura, nid wyt yn un o'r gwrthgilwyr y cyfeiriwyd atynt. Y mae y rhai hyny mor galed a'r creigiau; mor ddibarch i waed y cyfammod, ac mor ddideimlad ag anifeiliaid yn yr odfeuon. Nid tydi ydyw y dyn sydd o'r dosbarth hwnw. Gallaf waeddi yn wyneb y fath un a thi, "Meddyginiaethaf eu hymchweliad hwynt, caraf hwynt yn rhad, canys trôdd fy nig oddiwrthynt."

---

EDRYCHIAD CRIST AR PEDR.

"O! fu 'rioed y fath edrychiad,
  Llawn o gerydd, llawn o ras;
Golwg ddig, ac eto 'n addfwyn,
  Nes oedd ganddo ei hun yn gas:
Golwg Duwdod wedi sori,
  Golwg cyfaill yn tristâu,
Golwg lem yn lladd y galon,
  Eto golwg yn iachâu."

NICANDER.

# PREGETH XXXII.

## Y MIL BLYNYDDOEDD.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. SIMON LLOYD, BALA.*

*Yn Llanbrynmair.*

**DADGUDDIAD xx. 6: "Gwynfydedig a sanctaidd yw yr hwn sydd â rhan iddo yn yr adgyfodiad cyntaf; y rhai hyn nid oes i'r ail farwolaeth awdurdod arnynt, eithr hwy a fyddant offeiriaid i Dduw ac i Grist, ac a deyrnasant gydag ef fil o flynyddoedd."**

Y MAE Ioan yma yn cael gweledigaeth—gweled angel â chanddo agoriad y pydew diwaelod, a chadwyn fawr yn ei law. Angel y cyfammod, sef Mab Duw, a olygir; oblegid ganddo ef yn unig y mae agoriad uffern a marwolaeth. Y mae y gadwyn fawr sydd ganddo yn ei law yn arwyddo yr awdurdod sydd ganddo trwy ei air a'i Ysbryd; a dywedir iddo ddal y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hon a elwir Diafol a Satan, a'i rwymo dros fil o flynyddoedd. Y

* Fel y canlyn y dywed Mr Hughes yn *Methodistiaeth Cymru* am y Parch. SIMON LLOYD:—"Tua'r fl. 1785–90 yr ymunodd y Parch. SIMON LLOYD, B. A., Plas y-dre', Ba'a, â'r Methodistiaid. Hwn oedd yr ail Eglwyswr a wnaethai hyny yn y Gogledd. Bellach yr oedd y ddau, a'r unig ddau yn Ngwynedd, a weinyddai y sacramentau ymysg y Methodistiaid, yn byw yn nhref y Bala. Fe fu Mr. LLOYD am ryw dymmor byr yn gwasanaethu yn Llan Bryn Eglwys, Sir Ddinbych; ac efe, meddir, oedd y cyntaf âg arwyddion amlwg o dduwioldeb arno, a fuasai yno er cyn cof. Yr oedd Mr. Charles ac yntau yn gyfeillion mawr, ac ar ymweliad âg ef pregethodd yn ei le, er ei fod wedi ymadael â'r Eglwys Wladol. Cythruddodd hyn ysbryd rhai o'r plwyfolion yn fawr, a'r canlyniad fu iddo yntau gefnu ar yr hen sefydliad a bwrw ei goelbren gyda y Methodistiaid. Preswyliai o hyn allan yn

mae y geiriau yn cyfeirio at oruchafiaeth a llwyddiant yr eglwys. Y maent yn cyfeirio at amser rhyfedd iawn sydd i ddyfod. Nis gellir penderfynu yn hawdd pa bryd y daw, ond gellir dywedyd na ddaw hyd ddiwedd teyrnasiad yr anghrist; ac y mae amrywiol o wahanol farnau pa bryd y bydd hyny; a dyna yr anhawsder sydd i ni wybod pa bryd y dechreua y mil blynyddoedd; pa bryd y bwrir ef i'r pydew diwaelod, ac y selir arno; fel na thwyllo y cenedloedd mwyach nes cyflawni y mil blynyddoedd. Ac ar ol hyny gollyngir ef yn rhydd dros ychydig amser; ac ychydig amser fydd ar ol hyny cyn diwedd y byd. Ac y mae yn ddiammheuol y gwna ef ei oreu yn erbyn eglwys Crist drwy yr hir amser y bydd heb fod yn rhwym. Y mae yn amlwg hefyd y bydd trai ar grefydd ar ol y mil blynyddoedd, y bydd gwir dduwiolion yn ychydig iawn o nifer; ac y bydd hyn yn un achos o ddyfodiad sydyn Crist i'r farn. "Ac mi a welais orseddfeinciau a'r rhai a eisteddent arnynt, a barn a roed iddynt." Arwydda hyny y dyrchafiad a'r nerth a fydd i'r eglwys yn yr amser hwnw. "A barn a roed iddynt," hyny yw iawnder, sef gwaredigaeth o'r holl erlidigaethau. Bydd graddau o erlid ar yr eglwys o hyd tra y parhao teyrnasiad yr anghrist. Bydd y tystion wedi adgyfodi yn yr amser y cyfeirir ato. Dyna y pryd yr adgyfodant. Yr oeddynt o'r blaen yn feirw yn eu beddau. Nid oedd dim

Mhlas y-dre', ei dreftadaeth ei hun, a llafuriai am y gweddill o'i oes mewn undeb â Mr. Charles yn nghyfundeb y Methodistiaid." Yr oedd Mr. LLOYD yn ieithydd a hanesydd rhagorol, ac yn gristion unplyg a dirodres iawn. Nid oedd ei ddoniau gweinidogaethol yn boblogaidd, eto bu yn ffyddlawn yn ei dymmor i deithio Cymru fynyddig; a chymerai y byd a'i cyfarfyddai gyda'r efengyl, mewn tai tlodion yn ddiddig. Yr oedd hyn iddo ef yn fwy chwith nag i lawer, gan ei fod yn ŵr boneddig o berchen etifeddiaeth helaeth, ac wedi ei ddwyn i fyny yn gyfatebol. Ysgrifenodd amryw lyfrau, megys *Amseryddiaeth Ysgrythyrol*, ac *Esboniad ar Lyfr y Dadguddiad*, a golygai ac ysgrifenai lawer i'r drydedd gyfrol o'r *Drysorfa Ysbrydol*. Da genyf fod y bregeth felus hon ar gael er cynnal i fyny ei goffadwriaeth barchus.

rhyddid iddynt dystio hyd yr amser hwnw. Ond ni bydd esgyniad y tystion i'r nefoedd hyd y mil blynyddoedd. Wrth y tystion y meddylir gweinidogion yr efengyl, athrawon eglwys Crist. "Ac mi a welais eneidiau y rhai y torwyd eu penau am dystiolaeth Iesu ac am air Duw, a hwy a fuont byw, ac a deyrnasasant gyda Christ fil o flynyddoedd;" hyny yw, tystion neu weinidogion o'r un ysbryd a'r rhai y torasid eu penau, sef ardderchog lu y merthyron. Sonir yma am adgyfodiad y merthyron hyny, nid yn eu personau a feddylir, ond rhai eraill, olynwyr iddynt, o'r un ysbryd a hwy; fel ag y gelwid Ioan Fedyddiwr yn Elias, am ei fod wedi dyfod yn ysbryd a nerth Elias. Ac ar ol y mil blynyddoedd adgyfodir rhai o'r un ysbryd a'r erlidwyr. Dyna ddeallir wrth yr adgyfodiad cyntaf. Y mae dau adgyfodiad i aros y saint; yn gyntaf i'w heneidiau, ac yn ail i'w cyrff.

"Gwynfydedig a sanctaidd yw y rhai y bydd iddynt ran yn yr adgyfodiad cyntaf." Y mae gwynfydedigrwydd a sancteiddrwydd ynglŷn neu yn gysylltiedig anwahanol â'u gilydd; a'r rhai gwynfydedig a sanctaidd hyny a fyddant offeiriaid i Dduw ac i Grist, ac a deyrnasant gydag ef fil o flynyddoedd.

Gall pob un o filwyr Crist gael y pethau gogoneddus hyn. Gallant orchfygu, a bod yn fwy na gorchfygwyr; a hwy a gânt deyrnasu gydag ef yn y nefoedd dros y mil o flynyddoedd hyny; a miliynau dirifedi o flynyddoedd ar ol hyny; a chânt fod yn offeiriaid i Dduw ac i Grist; nid offeiriaid i offrymu aberthau fel y Lefiaid, ond i aberthu ebyrth cyfiawnder a mawl a diolch.*

* Dichon y dylid crybwyll nad yw y nodiadau blaenorol ond Rhagymadrodd i esboniadau llawnach yr hybarch Simon Lloyd ar weledigaethau Ioan y rhai a goffeir yn Llyfr y Dadguddiad.

# PREGETH XXXIII.

## Y MYNYDD A'R WLEDD.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. HUMPHREY GWALCHMAI.*

*Mewn Cyfarfod Misol yn Llanbrynmair, Mai 2, 1822.*

ESAIAH xxv. 5—7: "Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd o basgedigion, gwledd o loew-win; o basgedigion breision, a gloew-win puredig. Ac efe a ddifa yn y mynydd hwn y gorchudd sydd yn gorchuddio yr holl bobloedd, a'r llen yr hon a daenwyd ar yr holl genedloedd. Efe a lwnc angeu mewn buddugoliaeth. A'r Arglwydd Dduw a sych ymaith ddagrau oddiar bob wyneb; ac efe a dŷn ymaith warthrudd ei bobl oddiar yr holl ddaear; canys yr Arglwydd a'i llefarodd."

AMSER isel iawn ar achos Duw oedd yr adeg pan y llefarwyd y geiriau hyn; ac y mae y prophwyd yn cael ei oleuo gan Ysbryd Duw am amser ag y byddai dyrchafu

* Mab ydoedd y Parch. HUMPHREY GWALCHMAI i Mr. Edward Gwalchmai, Llanwyddelan, yr hwn oedd ŵr o foddion helaeth, a dysgeidiaeth dda, ac yn bregethwr cymeradwy iawn. Yn Llanwyddelan, yn ei gartref, y dechreuodd y mab bregethu; ond symudodd i Lanidloes i fyw yn y flwyddyn 1813. Awdwr hyglod *Methodistiaeth Cymru* a ddywed am dano:—"Bu y tyner Barch. Humphrey Gwalchmai yn byw yma y rhan fwyaf o'i oes, nid llai na 30 mlynedd. Llafuriodd lawer yn ddirgel a chyhoeddus; coronwyd ei wasanaeth â llwyddiant nodedig. Yr oedd wedi ei gynnysgaethu â mesur helaeth o wybodaeth a dawn, ac yn bregethwr da a chanmoladwy. Cychwynodd ei yrfa mewn amgylchiadau cysurus, ond cafodd fel llawer brofi yn helaeth o chwerwder profedigaethau y byd, o herwydd ei ddiniweidrwydd a thwyll dynion." Cof genym ei glywed ychydig flynyddau cyn ei farwolaeth yn pregethu yn nerthol a blasus, ac yn darlithio ar yr achos dirwestol gyda zel ac yni anghyffredin. Yr un gŵr ieuanc talentog a ysgrifenodd y ddwy bregeth gyflawn ganlynol ag a ysgrifenodd ei bregeth argraffedig ar "Ieuo yn Anghymharus." Bu farw yn Nghroesoswallt yn 1847, yn 59 mlwydd oed.

ar achos gwir grefydd, a darostwng ar ei gelynion; ac yn yr olwg ar hyny y mae yn dyrchafu ac yn moli enw Duw. "Dyrchafaf di," meddai, "moliannaf dy enw, canys gwnaethost ryfeddodau; dy gynghorion er ys talm sydd wirionedd a sicrwydd." Yr oedd y pethau a wnaeth Duw yn fantais i'r prophwyd gredu y pethau a wnai eto. Yr oedd bod cynghorion Duw er ys talm wedi cael eu profi yn wirionedd a sicrwydd, yn gymhorth iddo gredu y cyflawnid yr hyn yr oedd yn ei addaw yn bresennol. "Canys gosodaist ddinas yn bentwr;" er mor gadarn ydoedd, ti a'i gosodaist yn bentwr; "a thref gadarn yn garnedd; palas dyeithriaid fel na byddo ddinas; nid adeiledir hi byth." Fe allai fod yma gyfeiriad at Babilon: gosodwyd hono yn bentwr, a'r dref gadarn hono yn garnedd, a dinystriwyd palas dyeithriaid. Fe allai fod y geiriau hyn hefyd yn cyfeirio at gwymp y Babilon ysbrydol y sonir am dani yn Llyfr y Dadguddiad. Fe fydd yn gallu tynu y ddinas gadarn i lawr fel na byddo ail godi byth arni. "Am hyny pobl nerthol a'th ogonedda, dinas y cenedloedd ofnadwy a'th arswyda." Ti a fyddi yn cario dy oruchwyliaethau ymlaen mewn modd mor ryfedd fel y daw pobl nerthol i weled dy law ynddynt, a daw dinas y cenedloedd ofnadwy i dy arswydo. "Canys buost yn nerth i'r tlawd, a chadernid i'r anghenog yn ei gyfyngder; yn nodded rhag tymhestl, yn gysgod rhag gwres, pan oedd gwynt y cedyrn fel tymhestl yn erbyn mur." Y mae y geiriau hyn yn arwyddo yr amddiffyn fydd yr Arglwydd i'w achos, ac y maent yn ddarluniad o'r peth yw Crist y Cyfryngwr i'w eglwys hyd yn hyn, a'r hyn yw i fod eto i bob pechadur dychweledig edifeiriol. "Fel gwres mewn sychder y darostyngi dwrf dyeithriaid." Fel gwres mewn sychder y bydd ef yn dyfod â'i waith ymlaen. Dwg ei waith ymlaen mewn dull anwrthwynebol fel gwres mewn sychder. Ar lawer haf gwresog fe fydd y gwres yn myned ymlaen ac yn effeithio gyda'r fath rym,

fel y bydd rhai yn meddwl na wna hi ddim ond sychder; ac felly y bydd i'r Arglwydd gario ei waith ymlaen fel gwres mewn sychder. "Darostyngir cangen yr ofnadwy." Y gangen sydd yn ymestyn allan o gorff y pren. Gall fod yma gyfeiriad at ryw frenin, neu ryw benadur, neu flaenor. "Darostyngir cangen yr ofnadwy;" hyny yw, torir nerth ac awdurdod yr ofnadwy. Darostyngir ei gangen. Yr hwn sydd am fod yn ofnadwy i dy achos, darostyngir ei nerth: torir ei gangen. "Canys llaw yr Arglwydd a orphwys yn y mynydd hwn; a Moab a sethrir dano, fel sathru gwell mewn tomen." Os ydych am gael gwybod pa fodd y daw cangen yr ofnadwy i lawr, a pha fodd y daw gelynion achos crefydd i lawr, a pha fodd y sethrir Moab; dyna fel y gwneir, fel sathru gwellt mewn tomen. Er eu bod yn awr, fe allai, yn uchel, ac yn frigog iawn, daw i lawr. "Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd." Er cymaint y gwres a'r dymhestl fydd yn curo ar y gelynion sydd yn ymosod, ac er mor araf yw y myn'd ar yr achos, ac mor isel ydyw, "Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd;" ac fe fydd y wledd hefyd yn un o natur ardderchog iawn: "gwledd o basgedigion, a gwledd o loew-win; pasgedigion breision, a gloew-win puredig." Geiriau yn dangos melusder y wledd yw y rhai hyn. "Gwledd o basgedigion," ac nid rhyw basgedigion cyffredin, ond "pasgedigion breision," yr hyn a ddengys y bydd y parotoadau yn helaeth, ac y bydd y wledd yn deilwng o fawredd ac uwchafiaeth. "Gwledd o loew-win," ac nid hyny yn unig, ond "gloew-win puredig." Mae'r gair Saesoneg yn arwyddo gwin gwaddod, a'r gwin gwaddod hwnw wedi ei buro. Dywed haneswyr am eu dull yn gwneuthur y gwin goreu yn y gwledydd Dwyreiniol; y byddent yn ei adael i sefyll yn hir ar ei waddod; ac y byddent yn ei dywallt o lestr i lestr i'w buro. Gwin cryf yw y gwin goreu; gwin

gwaddod a hwnw wedi ei buro. Dyna oedd y gloew-win puredig. Nid gwin wedi ei gymysgu â'r gwaddod, ond wedi ei godi oddiar y gwaddod a'i buro. "Pasgedigion breision a gloew-win puredig" sydd yn y wledd. "Ac efe a ddifa yn y mynydd hwn y gorchudd sydd yn gorchuddio yr holl bobloedd, a'r llen yr hon a daenwyd ar yr holl genedloedd." Barn rhai wrth sylwi yn feirniadol ar y geiriau hyn yw, bod y geiriau "difa y gorchudd" yn cyfeirio at air yn yr adnod flaenaf a ddarllenwyd fel testun. "Ac efe a lwnc angeu mewn buddugoliaeth." Efe a ddifa yn y mynydd hwnw y gorchudd sydd yn gorchuddio y bobloedd. Wrth hyny y meddylir yr holl wrthwynebiadau i achos Duw oedd yn bod yn yr amser hwnw; a'r gofidiau oedd yn cyfarfod âg eglwys Dduw, y rhai sydd yn peri i Sïon wisgo gorchudd galar, neu orchudd fydd yn arwydd o dristwch. Tynir ymaith y gorchudd o alar, ac yn lle lludw ar ei phen rhoddir coron gogoniant. Symudir ymaith yr achos o'r holl ofidiau. Gwneir difa y gorchudd a'r llen; llyncir angeu mewn buddugoliaeth, a sychir ymaith yr holl ddagrau.

Mi a sylwaf ychydig yn fwy neillduol ar y geiriau, "Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd o basgedigion, a gloew-win, gwledd o basgedigion breision, ac o loew-win puredig."

I. Y WLEDD: "Pasgedigion breision a gloew-win puredig."

II. AWDWR Y WLEDD: "Arglwydd y lluoedd."

III. SEFYLLFA Y WLEDD: "Yn y mynydd hwn."

IV. GWRTHDDRYCHAU Y WLEDD: "Yr holl bobloedd."

V. CANLYNIADAU Y WLEDD I'R RHAI FYDD YN CYFRANOGI O HONI: difa y gorchudd, llyncu angeu, a sychu y dagrau.

Y mae arnaf arswyd wrth geisio darlunio y fath wledd, rhag fy mod heb brofi o'i llawnder a'i melusder.

I. Y WLEDD: "Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobl yn y mynydd hwn wledd."

Y mae'r gair gwledd yn arwyddo crynhoi cysuron at eu gilydd; casglu achosion gorfoledd i'r un cylch. Y mae yn wir y sonir weithiau am wleddoedd annuwiol. Sonir yn Esaiah am ryw wleddoedd annuwiol a llygredig: "Gwae y rhai a gyfodant yn fore i ddilyn diod gadarn, ac a arosant hyd yr hwyr, hyd oni ennyno y gwin hwynt; ac yn eu gwleddoedd hwynt y mae y delyn a'r nabl, a'r dympan, a'r bibell, a'r gwin; ond am waith yr Arglwydd nid edrychant, a gweithred ei ddwylaw ef nid ystyriant." Dyna ydyw gwleddoedd annuwiol; gwleddoedd i lygru y galon. Fe allai fod yno lawer o bobl, a'u bod yn ddifyr a llawen, ac y mae y delyn a'r nabl a'r dympan a'r bibell yno; "ond nid ystyriant ddim o waith yr Arglwydd." Nid ydynt yn ystyried ei weithredoedd, nac yn edrych ar ei ogoniant. Byddant weithiau yn arlwyo gwledd ar enedigaeth, o lawenydd am eni dyn i'r byd; ac weithiau ar adeg priodas, ac weithiau ar amser buddugoliaeth. Ar adeg priodas freninol fe fyddai gwledd yn cael ei gwneyd, ac hefyd ar ol cael buddugoliaeth; ac fe allai mai at wleddoedd felly y mae y geiriau yn cyfeirio; ac yn benaf at eu gwleddoedd ar ol ennill buddugoliaeth. Nid wyf yn cofio eu bod yn cynnal gwleddoedd ar achosion eraill; ond y mae tŷ galar yn cael ei droi yn dŷ gwledd gan rai yn ein dyddiau ni. Y mae y Paganiaid a'r Papistiaid, a rhai yn Nghymru—nis gwn yn iawn pa fodd i'w galw, yn troi tai galar i fod yn dai gwledd. Y mae gan y Paganiaid ryw fath o wleddoedd felly er ceisio difa eu galar a'u heuogrwydd; ac y mae y Papistiaid yn cynnal gwleddoedd er cydweddïo am gael y meirw allan o'r purdan; ac y mae rhai yn Nghymru nad ydynt na Phaganiaid na Phapistaid yn troi tai galar yn dai gwledd. Fe gynnaliwyd gwleddoedd ar adeg genedigaethau lawer tro yn annuwiol iawn, ac hefyd gwleddoedd priodasau mewn dulliau nad oedd modd dysgwyl cael Crist i'r briodas. Yr oedd y wledd mor llygredig nes yr oedd

Crist yn ei ffieiddio, ac yn sefyll draw. Hefyd gwnaed llawer gwledd annuwiol iawn ar ol cael buddugoliaeth waedlyd. Buasai yn fwy gweddus cyfarfod i ddiolch i Dduw am ei waredigaethau a bod eu bywyd ganddynt; dylasent gydnabod ei law yn hyny, yn lle cablu ei enw, ac ymffrostio mewn pethau nad oedd weddus. Bob amser yn y gwleddoedd annuwiol, nid oes dim o law na gwaith Duw yn cael ei ystyried. Y mae amlygiadau o Dduw yn dyrysu y gwleddoedd hyny. Fe wnaeth Belsassar wledd fawr, a gwledd fawr iawn oedd hono; yr oedd mil o dywysogion ynddi. Nid yw yn debyg y gall yr un brenin yn Ewrop, nac ychwaith yr un o ymherawdwyr cryfaf y byd, wneuthur gwledd ag y byddai mil o dywysogion ynddi; ond yr oedd Belsassar wedi gwneyd gwledd âg ynddi fil o dywysogion a'u gordderchadon gyda hwy, a'r gwin mor helaeth fel y torasant allan i orfoleddu. Wrth yfed gwin yn llestri y deml y torodd allan y fath orfoledd, nes iddynt foli duwiau aur ac arian; ond yn nghanol y moliannu a'r gorfoleddu uwch ben y llestri aur ac arian, dacw fysedd llaw gŵr yn ysgrifenu ar galchiad y pared; ac yn nghanol y mawl dacw y brenin yn crynu, a gwedd ei wynebpryd yn newid, a'i feddyliau yn cyffroi, a rhwymau ei lwynau yn dattod, a'i liniau yn curo y naill wrth y llall. Ni wnai na llestri y deml, na'r aur, na'r gerdd, na holl gwmni tywysogaidd y wledd mo'i gysuro; na'r doethion, na'r holl astronomyddion, na'r Caldeaid, na'r brudwyr; yr oedd raid cael Daniel yno. Yr oedd y brenin yn crynu, a'r wledd wedi dyrysu. Mi fum yn meddwl pe buasai rhyw wledd annuwiol yn gallu dal amlygiadau o Dduw, y buasai gwledd fawr Belsassar yn gwneuthur hyny. Ond och! och! am y bobl sydd yn myned ymlaen gyda'u gwleddoedd annuwiol! pan ddelo amlygiadau o Dduw i ddisgyn ar gydwybodau euog, hi ä yn newid lliw ar unwaith. Fe allai fod yma rai wedi bod yn gwawdio wrth weled rhai o'u cymydogion mewn trallod a

gwasgfa am eu cyflwr, ond y mae arnaf ofn fod eu tywydd hwythau yn ol. Gallesid dysgwyl na buasai neb cryfach na'r brenin hwnw i ddal, ond dacw ef yn methu; a'r geiriau, "Ti a bwyswyd yn y clorianau, ac a'th gaed yn brin," wedi ei ysgrifenu ar y pared o'i flaen. Pan yr oedd y brenin yn gwledda ac yn dawnsio, yr oedd Duw yn parotoi y glorian i'w bwyso. Cofiwch pan fyddoch yn myned ymlaen gyda'ch digrifwch, fod Duw yn pwyso y pryd hyny; a dichon mai pan fyddwch yn nghanol yr oferedd y dengys eich bod yn rhy brin yn y glorian.

Ond y mae gwledd gan yr Arglwydd i'w bobl. Y mae y wledd hon yn cynnwys darpariadau a chysuron yr iachawdwriaeth. Iachawdwriaeth fawr gyfoethog y Drindod sydd yn cael ei darlunio yn y wledd; sef y drefn i arbed ac achub pechadur trwy rinwedd gwaed ac angeu y Cyfryngwr. Dyma y wledd sy'n cael ei dangos yma. Fel hyn y mae Solomon yn ei darlunio (Diar. ix. 1—6): "Doethineb a adeiladodd ei thy; hi a naddodd ei saith golofn; hi a laddodd ei hanifeiliaid, hi a gymysgodd ei gwin, ac a huliodd ei bwrdd; hi a yrodd ei llawforwynion; y mae yn llefain oddiar fanau uchel y ddinas, Pwy bynag sydd annichellgar, tröed i mewn yma; ac wrth yr annoeth y mae hi yn dywedyd, Deuwch a bwytewch o'm bara, ac yfwch o'r gwin a gymysgais. Ymadewch â'r rhai ffol, a cherddwch yn ffordd deall."

Doethineb sydd wedi bod yn arlwyo y wledd. Gwledd mewn *style* uchel iawn ydyw. Arglwydd y lluoedd, fel y crybwyllwyd, ddarfu ei darparu. Arglwydd y lluoedd, yr hwn sydd yn gyflawn o bob doethineb. Nid oes dim diffyg na dim o'i le yn yr arlwywr o honi; ac nid oes dim i'w ddywedyd uwch ei phen, ond "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw!" A dyna pwy yw ei gwrthddrychau, plant tlodion, hen wrthryfelwyr fuont yn gwrthryfela yn erbyn Duw; dyna gymeriad y rhai y mae

Doethineb wedi bod yn darparu ac yn arlwyo ac yn hulio ei bwrdd ar eu cyfer. I rai felly y mae wedi bod yn lladd ei hanifeiliaid ac yn cymysgu ei gwin, ac yn trefnu ei gwledd; ac yn awr y mae yn anfon allan ei llawforwynion, y rhai sydd yn sefyll yn y lleoedd amlwg, sef ar benau ystolion yn y tai, ac mewn pulpudau yn y capeli, ac yn y cymanfäoedd a'r cyfarfodydd misol, ac yn gwahodd y rhai annichellgar i ddyfod i mewn. Y mae llawer o ymadroddion yn yr Ysgrythyrau yn dangos fod yr iachawdwriaeth yn cael ei gosod allan dan y gyffelybiaeth o wledd. "Duw sydd noddfa a nerth i ni, cymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder. Am hyny nid ofnwn pe symudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr. Er rhuo a therfysgu o'i ddyfroedd, er crynu o'r mynyddoedd gan ei ymchwydd ef, y mae afon a'i ffrydiau a lawenhânt ddinas Duw, cysegr preswylfëydd y Goruchaf." Dyma un o freiniau y ddinas, y mae yno wledd i'w llawenhâu. Byddai yn beth rhyfedd iawn i weled y mynyddoedd yn treiglo i ganol y môr; ond pe baent yn treiglo nid ofnai pobl y wledd. Fel pe buasai yn dywedyd, Pe byddai holl rym a holl awdurdod, a holl bethau goreu y byd, yn cael eu treiglo ymaith, y mae afon a'i ffrydiau a lawenhânt ddinas Duw. "Fel trwy ddau beth dianwadal, yn y rhai y mae yn anmhosibl i Dduw fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cysur cryf, y rhai a ffoisom i gymeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen." Y mae cynghor a llw Duw wedi eu rhoddi a'u selio er cysuro ei eglwys. Hefyd y mae amryw ddammegion yn y Bibl er dangos natur a helaethrwydd y wledd hon, megis gwledd priodas mab y brenin. Yr oedd cinio wedi cael ei fwynhâu, a swper helaeth yn barod. Felly gellir dywedyd fod y wledd yn un fawr, o herwydd amlder y gwrthddrychau, a'r parhâd sydd iddi.

II. Y MAE Y WLEDD WEDI CAEL EI PHAROTOI GAN ARGLWYDD Y LLUOEDD.

Darparydd y wledd ydyw Arglwydd y lluoedd. Pan y bydd brenin yn parotoi gwledd, parotoi fel brenin y mae. Bydd mawredd gwledd brenin yn ateb i'w fawredd breninol. Bydd pob gŵr mawr yn gwneyd gwledd yn ol mawredd ei oludoedd. Felly "Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobl yn y mynydd hwn wledd;" a chan mai Arglwydd y lluoedd sydd yn parotoi y wledd, bydd yn sicr o'i pharotoi mewn modd teilwng o'i fawredd. Arglwydd neu Jehofah y lluoedd yw efe. Gellir ei alw yn Arglwydd y lluoedd am mai efe ydyw Creawdwr y lluoedd, ac am mai efe yw Cynnaliwr y lluoedd, ac am fod awdurdod ganddo ar bob lluoedd ymhob man. Efe ydyw llywydd yr holl luoedd i gyd.

Y mae y geiriau yn amlygu i ni ei fod yn myned i barotoi gwledd i'w eglwys. Er gwaethaf yr holl luoedd sydd yn erbyn ei Sïon, y mae Arglwydd y lluoedd yn parotoi gwledd iddi. Arglwydd lluoedd y nefoedd, ac Arglwydd lluoedd y ddaear, a gorchfygwr lluoedd uffern, ydyw Arglwydd y lluoedd. Fe fedr ac fe fŷn gael pob chware teg i'w eglwys. Fe fedr gael y gwasanaeth a fyno er gwneyd y wledd yn gysurus ac anrhydeddus. Gall alw ei holl luoedd i gynnorthwyo. "Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobl yn y mynydd hwn wledd." Pe buasai ambell i frenin yn ceisio gwneuthur gwledd i Sïon, gallasai lluoedd gwrthwynebol ei ddyrysu a'i rwystro. Ond Arglwydd yr holl luoedd, y Duw Hollalluog anorchfygol, sydd yn parotoi y wledd.

III. Sefyllfa y wledd: "Yn y mynydd hwn."

Gelwir yr eglwys weithiau yn fynydd Duw, ac yn fynydd Sïon. "Mynydd Duw sydd fel mynydd Basan, yn fynydd cribog fel mynydd Basan. Paham y llemwch, chwi fynyddoedd cribog? Dyma y mynydd y chwennychodd Duw ei breswylio, ie, preswylia yr Arglwydd ynddo byth." Dyma y fan y chwennychodd yr Arglwydd breswylio ynddo: paham yr ewch chwi i ymffrostio, fynyddoedd cribog, chwi

fawrion y ddaear? Dyma y mynydd y chwennychodd Duw breswylio ynddo, sef mynydd Sïon. "A bydd yn y dyddiau diweddaf fod mynydd tŷ yr Arglwydd wedi ei barotoi ymhen y mynyddoedd, yn ddyrchafedig goruwch y bryniau." Dyrchafedig ymhen y mynyddoedd, yn uwch na phob peth arall. Gwledd yn y mynydd hwn. A bydd mynydd y wledd yn uchel a dyrchafedig iawn. "Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobl yn y mynydd hwn wledd;" yn ei dŷ, yn ei eglwys, yn ei Sïon. Byddai y gwleddoedd gynt yn gyffredin yn cael eu cynnal yn y tai, a byddent yn cael eu cynnal weithiau yn y nos yn y gwledydd dwyreiniol; a byddai y rhai anghymeradwy yn cael eu bwrw allan i'r tywyllwch o ystafell y wledd; ac felly y sylwa rhai beirniaid, bod cyfeiriad yn y geiriau hyny, "Cymerwch ef, a bwriwch ef i'r tywyllwch eithaf;" sef bwrw allan yn y nos i'r tywyllwch o ystafell y wledd. Sonir hefyd am rywrai yn dyfod o'r "dwyrain ac o'r gorllewin, ac yn eistedd gydag Abraham ac Isaac a Jacob yn nheyrnas nefoedd, a phlant y deyrnas yn cael eu taflu i'r tywyllwch eithaf." Felly yma, yn mynydd Sïon, yn yr eglwys, y mae y wledd; nid oes allan ond y tywyllwch. Nid oes dim o'r wledd i'w gael y tu allan i'r mynydd. Yn y mynydd hwn, yn nghysegr Duw, y mae y wledd. Dyna lle y bu Abraham ac Isaac a Jacob a'u cydffyddloniaid yn gwledda. "Oddiallan y mae y cŵn, a'r swyn-gyfareddwyr, a phob un sydd yn caru ac yn gwneuthur celwydd." Os ydych yn meddwl cael y llo pasgedig a'r gynghanedd, nid yn y wlad bell y maent i'w cael. Y moch a'u cafnau a'r cibau sydd yn y wlad bell. Gartref yn nhŷ eich Tad y mae y wledd. A gaf fi roddi bloedd o groesaw y tro hwn yn eich clyw? Bum yn meddwl yn ddiweddar na chawn i ddim cyfle i ddywedyd dim wrthych byth, ac fe allai mai hwn ydyw y tro diweddaf; ond gan fy mod wedi cael y tro hwn eto yn rhagor, yr wyf am waeddi, Deuwch adref o'r tir pell, gwlad y newyn;

deuwch adref ar unwaith i dŷ eich Tad. Yno y mae y llo pasgedig i'w gael. Deuwch adref o'ch holl wrthgiliadau a'ch crwydriadau: y mae cystal ac mor lawn a dedwydd yno heddyw ag erioed. Y mae cystal cynghanedd a dawnsio yno heddyw ag y bu erioed. Y mae y wledd mor lawn ag y bu erioed, am hyny trowch eich wynebau a'ch camrau tuag adref. Bydd yn dlawd byth ar y rhai a arosant allan. Y mae Doethineb yn anfon ei llawforwynion allan, ac y mae Gŵr y tŷ yn anfon ei weision i'r prif-ffyrdd a'r caeau; a dyma ydyw eu *commission*, gwahodd i'r tŷ i'r wledd. Ni ddeil yr esgusodion; y tyddyn tir, a'r pum' iau ychain, a'r briodas. Rhy wael yw esgusodion felly i gadw neb o'r wledd. Yr wyf am gyfeirio ystyriaeth y rhai sydd yn glynu wrth eu hesgusodion at amgylchiadau difrifol marw sydd o'ch blaen, a dichon yn agos. Edrychwch a ddeil yr esgusodion yno, ac os na ddaliant gwell i chwi eu rhoddi heibio.

1. Profwch yr esgusodion yn wyneb tystiolaethau y Bibl, ac os na ddaliant yn ngoleuni y Gair, gwell ydyw eu rhoddi i fyny ar unwaith.

2. Profwch hwy yn wyneb angeu, ac os na ddaliant yno, os na throant allan yn nerth ac yn gysur i chwi yn wyneb angeu, gwell yw eu troi heibio heddyw.

3. Profwch hwy yn wyneb y dydd diweddaf. Os na ddaliant pan y bydd yr haul yn gwrido a'r ser yn syrthio, a'r ddaear yn dryllio, a'r Barnwr yn eistedd ar ei orseddfainc, a chwithau yn gorfod sefyll yn y farn; os na ddaliant yno, gwell i chwi eu rhoddi heibio yn awr ar unwaith.

O enaid anwyl! Tafl heibio dy esgusodion pwdr; ni ddaliant ddim yn y bylchau cyfyng hyny. Gollwng hwy o dy afael, a thro dy wyneb tua'r wledd. Y mae pob mantais a phob croesaw i ti. Y mae rhai yn myned tua'r wledd ar feirch, a rhai ar anifeiliaid buain, a rhai mewn cerbydau,

a rhai ar fulod, a rhai ar elorau meirch. Tyred gyda hwy. Bydd tyrfa fawr wrth y bwrdd.

IV. Gwrthddrychau y Wledd: "Yr holl bobloedd." Nid yn unig hi a fydd yn wledd i'r genedl Iuddewig, ond fe dynir canolfur y gwahaniaeth, ac agorir y wledd i'r holl genedloedd. Fe fydd y mynydd yn llenwi yr holl ddaear, a'r holl bobloedd o amgylch y bwrdd. A gellir dyweyd am y wledd,—

1. Y mae'n wledd i'r credadyn ymhob amgylchiad a ddichon ei gyfarfod ar ei yrfa yn y byd. Gwna i'r credadyn lawenychu pe na byddai eidion yn y beudŷ, na dafad yn y gorlan, na ffrwyth ar yr olewydd. Deil y wledd yn ei blas a'i llawnder y pryd hyny. Y mae yn rhoddi modd i orfoleddu mewn gorthrymderau.

2. Hi ddeil yn angeu. "Ië, pe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys yr wyt ti gyda mi, dy wïalen a'th ffon a'm cysurant. Ti a arlwyi ford ger fy mron yn ngwydd fy ngwrthwynebwyr; iraist fy mhen âg olew, fy phïol sydd lawn." Dyna fwrdd wedi ei hulio er gwaethaf ac yn ngwydd yr holl wrthwynebwyr. Dyna iro y pen âg olew, a dyna y phïol yn llawn. Bydd y wledd yn odidog.

3. Hi ddeil i dragywyddoldeb. Ië, medd rhywrai, hi dderfydd yn angeu. Na wna, na wna; bydd yn gwella yn angeu. Bydd yno yn felusach nag erioed. Dywedir wrthyt yno, "Dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." "Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws ac yn curo; os clyw neb fy llais ac agoryd y drws, mi a ddeuaf i mewn ac a swperaf gydag ef, ac yntau gyda minnau." Nerther ni i fod yn ffyddlawn am dipyn bach. Cawn ddyfod adref o'r frwydr yn y man, er ei bod hi yn fyd blin yn fynych yn yr anial; cawn Iesu i swpera gyda ni, a ninnau gydag ŷntau. Mor sicr a'i fod ef gyda ni yma, cawn ninnau fod gydag ef wedi i ni fyned oddiyma. Cawn felly wledd wastadol i lawenhâu y galon;

yr euogrwydd wedi ei symud o'r gydwybod, yr hen euogrwydd ddamniol wedi ei dynu ymaith, a chymdeithas y dyoddef oddiwrth y galon lawn o bla sydd rhyngom â Duw wedi darfod, a'r enaid wrth ei fodd yn mwynhâu y wledd.

V. Y CANLYNIADAU O FWYNHAU Y WLEDD: "Efe a ddifa yn y mynydd hwn y gorchudd sydd yn gorchuddio yr holl bobloedd, a'r llen yr hon a daenwyd ar yr holl genedloedd."

Y mae gorchudd Iuddewaeth yn aros hyd heddyw i orchuddio yr Iuddewon; ac y mae gorchudd Paganiaeth a gorchudd Mahometaniaeth a gorchudd y Babaeth, a gorchudd anwybodaeth, yn aros ar y cenedloedd; ond y mae difa i ddyfod. Dangoswch fod bywyd ynoch drwy ymborthi ar y wledd. Mi a welais yn rhywle hanes am rai wedi gwneuthur trwy gywreinrwydd ryw bethau tebyg iawn i ddynion byw, ond erbyn rhoddi ymborth yn eu hymyl yr oeddynt yn profi nad oedd bywyd ynddynt trwy fethu ymborthi ar yr ymborth roddid o'u blaen. Dangoswn fod bywyd ynom trwy ymborthi ar y wledd.

ADDYSGIADAU.

1. Ystyried y rhai sy'n dibrisio ac yn esgeuluso y wledd ynfydrwydd eu hesgusodion.

2. Rhyfeddwn olud gras Duw yn parotoi y wledd, a'i amynedd yn para i wahodd.

3. Dylai pawb sydd wedi profi o felusder a maeth y wledd geisio gwahodd a denu eraill at ei bwrdd.

4. Y mae y wledd yn myned well well yn barhâus, a bydd gwledd y nef yn berffaith a diddarfod.

## PREGETH XXXIV.

### CRIST YN DYODDEF.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. HUMPHREY GWALCHMAI.

*Yn Llanidloes yn 1820.*

1 PEDR ii. 24: "Yr hwn ei hun a ddyg ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren, fel wedi ein marw i bechodau y byddem byw i gyfiawnder: trwy gleisiau yr hwn yr iachäwyd chwi."

YR oedd yn ddyddiau blin ar grefyddwyr yn yr oes apostolaidd. Yr ydym yn cael yma bod yr apostol Pedr yn cyfeirio ei lythyr hwn at y dyeithriaid oeddynt ar wasgar ar hyd Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia, a Bithynia. Yr oedd gwasgaru rhyfedd wedi bod ar grefyddwyr y pryd hyny, a hyny o herwydd eu crefydd. Nid amser hyfryd oedd y pryd hyny i allu dal ar lai na grym duwioldeb. Y mae eisieu crefydd o'r un natur a'r un elfenau yn ein dyddiau ni; crefydd a ddeil dân a ffagodau os bydd galwad am hyny. Yr oedd crefyddwyr wedi eu codi y pryd hwnw o ddynion cyffredin, o raddau isel; ac felly y mae'r apostol yn eu galw i barchu pawb, i garu y frawdoliaeth, i ofni Duw, ac i anrhydeddu y brenin. Wedi hyny y mae yn dywedyd, "Y gweision, byddwch ddarostyngedig gyda phob ofn i'ch meistriaid, nid yn unig i'r rhai da a chyweithas, ond i'r rhai anghyweithas hefyd." Y mae yn galw yr holl

ddyeithriaid oeddynt ar wasgar yn "saint," ond er hyny yn "weision." Yr oedd yn rhesymol iddo eu galw yn weision am eu bod yn cael eu llywodraethu gan awdurdodau daearol; ac y mae yn eu hannog i fod yn ufudd nid yn unig i'r rhai da a chyweithas, ond i'r rhai anghyweithas hefyd. Y mae yn debyg fod rhai o'r saint â meistriaid da a boneddigaidd ganddynt. Wedi hyny y mae yn dywedyd, "Canys hyn sydd rasol, os yw neb o herwydd cydwybod i Dduw yn dwyn tristwch, gan ddyoddef ar gam." Y mae llawer o honoch yn gorfod dyoddef, ond y mae gwahaniaeth rhwng dyoddef ar gam a dyoddef fel arall. Yr oedd rhai yn dyoddef o herwydd cydwybod. "Oblegid pa glod yw, os pan bechoch a chael eich cernodio y byddwch dda eich amynedd?" Nid yw bod yn amyneddgar pan bechoch yn haeddu canmoliaeth, ond y mae eich bod yn amyneddgar pan yn dyoddef ar gam yn rhyngu bodd Duw. "Canys i hyny y'ch galwyd." Nid oes dim arall i chwi ei ddysgwyl. Nid ydych i ddysgwyl cael y wobr heb y llafur, cael y goron heb y groes wrth ddilyn yr Iesu. Peidiwch a'i gymeryd yn beth dyeithr, "oblegid Crist yntau a ddyoddefodd, gan adael i ni esampl, fel y canlynech ei ôl ef." Nid dyoddef fel siampl a wnaeth Crist, ond dyoddef drosom ni; ac wrth ddyoddef drosom ni, rhoddodd i ni esampl. "Ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau." Dyoddefodd heb achos. "Yr hwn pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn; pan ddyoddefodd, ni fygythiodd; eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn. Yr hwn ei hun a ddyg ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren, fel wedi ein marw i bechodau, y byddem byw i gyfiawnder; trwy gleisiau yr hwn yr iachäwyd chwi."

Cawn ystyried, PWY YW Y PERSON FU'N DYODDEF; YR ACHOS IDDO DDYODDEF; A'R DULL Y DYODDEFODD; Y MAN LLE Y DYODDEFODD; A DYBEN EI DDYODDEFIADAU, "fel wedi ein marw i bechodau, y byddem byw i gyf-

iawnder;" a'r EFFEITHIAU O'R DYODDEFIADAU, "ein iachâu ni."

I. Y PERSON A DDYODDEFODD, Crist, Mab Duw; ac y mae yn angenrheidiol i ni bob amser, pan yn son am ddyoddefiadau Crist, i ystyried pwy ydoedd. Mab Duw ydoedd. Os bydd mawredd y Person o'r golwg, bydd mawredd ei ddyoddefiadau hefyd o'r golwg; ac anghofir athrawiaeth yr Iawn dros bechod. Nis gallwn edrych ar ei ddyoddefiadau ef fel rhai mwy na dyoddefiadau merthyr heb i'r llen gael ei rhwygo sydd rhyngom a gweled mawredd ei Berson. Crist, eneiniog y nef, Mab Duw ydoedd; Un gogyfuwch a'r Personau eraill. Un na thybiodd yn drais bod yn ogyfuwch â Duw." Er i ni weled ychydig o fawredd ei Berson, gallem ystyried y pethau canlynol:—

1. Rhoddir yr un titlau iddo ag a roddir i'r Tad a'r Ysbryd.

2. Y mae yr un addoliad yn cael ei roddi iddo ef ag i'r Tad a'r Ysbryd.

3. Y mae yr un gweithredoedd wedi cael eu cyflawni ganddo.

Yr hyn sydd yn digaloni y saint yw, methu chwalu y lleni sydd rhyngddynt a gweled mawredd y Person a ddyoddefodd; a dyna hefyd yr achos sydd yn peri fod eraill heb roddi eu hunain iddo. Nid oes yma neb fedrai beidio rhoddi ei hun ar unwaith iddo ond iddo gael golwg ar ei fawredd yn ol y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am dano. Nid oes yr un gadwyn fedrai gadw enaid yn ol, ond i Grist ddyfod i'r golwg yn ol y dadguddiad Dwyfol o hono. Ond ei weled felly, llefai yr enaid, "Wele fi yn llwch ac yn lludw." Yr Un mawr hwn "ei hun a ddyg ein pechodau ni yn ei gorff ei hun ar y pren." Mab Duw, anwylyd y nef, oedd yr hwn a ddyoddefodd. Yr oedd yn Fab Duw a mab dyn. Dwy natur, ond un Person. Mae'n wir nad oedd

y Duwdod yn dyoddef, ond yr oedd y Person a ddyoddefodd yn Dduw.

II. YR ACHOS IDDO DDYODDEF.

Yr achos o bob dyoddef ydyw pechod. Nid oes genym yr un dadguddiad fod dyoddef wedi bod cyn bod pechod, nac y buasai dyoddef byth oni buasai pechod. Yr achos o bob dyoddef a fu, ac sydd, ac a fydd byth ydyw pechod. Yr unig ddrws a agorodd y ffordd i ddyoddef ddyfod, oedd pechod. Ni buasai na dyn nac angel yn gorfod dyoddef oni buasai pechod. Ni buasai diluw i foddi yr hen fyd, na thân a brwmstan i losgi Sodom a Gomorrah, na'r ddaear yn agor ei safn i lyncu Corah, Dathan ac Abiram, oni buasai pechod. Ni buasai dim gofid yn y byd oni buasai pechod. Ni buasai cyrff a gwaed dynion yn cael eu rhoddi yn wrtaith i'r ddaear oni buasai pechod. Ni buasai cleddyfau a gwaëwffyn yn cael eu trochi mewn gwaed oni buasai pechod. Ni buasai na newyn na haint, na gofid na gwae o unrhyw natur, oni buasai pechod. Nid oes dim gwaeth na phechod yn bod. Nid oes dim drwg ond pechod, ac y mae pechod yn ddrwg digyfnewid. Drwg yn ei holl natur ydyw, heb ddim cymysg o dda. Nid oes dim gwaeth yn bod, dim gwaeth yn uffern; ac eto câr dynion bechod. Y maent yn bwyta pechod fel bara, ac yn yfed anwiredd fel dwfr. Nid oes dim sydd well gan lawer na mwyniant pechod. Y mae llawer yn caru pechod yn fwy na'r Gwaredwr, ïe yn fwy na'u heneidiau. Y maent yn caru eu pechod yn fwy nag y maent yn caru eu Duw; a'u pechod yw yr achos o'r dyoddef. 'Wel,' medd rhyw un, 'ni wnaeth Crist bechod, ac felly nid pechod oedd yr achos iddo ef ddyoddef.' Ië, pechod oedd yr achos iddo ddyoddef. Mae yn wir mai y cynhyrfiol achos oedd hunan-gynhyrfiol gariad Tri yn Un. Eto ni buasai dim dyoddef oni buasai pechod. A wnaeth Crist bechod? Naddo; ni chaed twyll yn ei enau. Nid oedd pechod yn ei natur. Ni chyflawnodd

unrhyw weithred bechadurus, ac ni feddyliodd unrhyw feddwl pechadurus. Pa fodd, os na wnaeth bechod, y dyoddefodd am bechod? Dyna yw ein gofyniad, Pa fodd yr oedd pechod yn achos i Grist ddyoddef, ac yntau heb wneuthur unrhyw bechod? A oedd ef yn dyoddef yn gyfiawn? Oedd. Y Cyfiawn a aeth i le yr anghyfiawn, i ddyoddef dros yr anghyfiawn. Os oedd un cyfiawn yn dyoddef, nid oedd yn gyfiawn iddo ddyoddef. Oedd. Pa fodd y gallai hyny fod? Beïau rhai eraill oeddynt wedi cael eu rhoddi arno ef. "Yr hwn ei hun a ddyg ein pechodau ni." A ddyg ei bechodau ei hun? Nage; nid oedd ganddo ddim pechodau ei hun, ond ein pechodau ni roddwyd arno ef. Beïau eraill roddwyd arno, a dyna yr achos iddo ddyoddef.

Gallai fod yma gyfeiriad at y bwch diangol pan oedd Aaron yn cyffesu anwireddau meibion Israel arno, yr hyn oedd yn gysgod neillduol o'r cyfrif o anwireddau a roddwyd ar y Meichiau. Wrth gyfrif yr ydym yn deall, rhoddi cyfiawnder i un nad oedd yn eiddo iddo yn ei berson ei hun, a rhoddi peth yn erbyn un nad oedd yn gyfiawn ei roddi iddo yn ei berson ei hun. Felly y bu cyfrif pechodau i Grist, a chyfrif cyfiawnder i ddynion. Rhoddwyd pechodau ei bobl yn erbyn Crist, a chyfrifwyd cyfiawnder Crist yn eiddo i bechadur; nid cyfrif i'r pechadur wneuthur cyfiawnder, ond cyfrif iddo gyfiawnder Un arall. A oes genym brawf o hyny? Oes: "Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwireddau ni i gyd;" neu fel y mae eraill yn darllen y geiriau, "Yr Arglwydd a wnaeth i'n hanwireddau ni gydgyfarfod arno ef." "Yr hwn ei hun a ddyg ein pechodau ni." Ni buasai modd iddo eu dwyn oni buasai eu bod wedi cael eu rhoddi arno. "Yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni, fel y gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Ymddangosodd y tro cyntaf â beïau arno, ac efe a'u dygodd ar y pren; neu fel y mae ar

ymyl y ddalen, "i'r pren." Ond gwnaeth y fath waith ar y pren fel y daeth i lawr hebddynt. Efe a'u dyg i'r pren, ond ar y pren dyoddefodd eithaf y gosb, a daeth i lawr hebddynt. Rhoddwyd y Person yma yn lle y personau a gedwir, a chyfrifwyd eu pechodau hwynt arno ef.

III. DULLIAU EI DDYODDEF. Dyoddefodd yn ei amgylchiadau, ei enw, ei enaid, a'i gorff.

1. Yn ei amgylchiadau. Daeth yn isel iawn. Dyna un oedd yn uwch na'r nefoedd, Un ag y mae yn ddarostyngiad ynddo i edrych ar y pethau sydd yn y nefoedd yn edrych ar y pethau sydd ar y ddaear. Yr Hwn, ag efe yn gyfoethog, a ddaeth er ein mwyn ni yn dlawd. Dywedodd unwaith fod gan adar y nefoedd nythod, a chan y llwynogod ffauau, ond fod Mab y dyn heb le i roddi ei ben i lawr. Dyoddefodd newyn a syched, ac oerder a lludded.

2. Dyoddefodd yn ei enw. Yr oeddynt yn cyhoeddi am dano mai dyn glwth ac yfwr gwin ydoedd, a'i fod yn gyfaill publicanod a phechaduriaid; ac mai trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid, yr oedd yn bwrw allan gythreuliaid. Hwy a blethasant goron o ddrain, ac a'i rhoddasant ar ei ben; rhoddasant gorsen yn ei law, a phlygasant o'i flaen er ei wawdio, fel brenin. Yr oeddynt am iddo alw ei hun yn Fab Duw er mwyn iddynt gael cyhoeddi ei fod yn cablu. Yr oedd Esaiah yn rhagddywedyd am dano, y byddai iddo gael ei ystyried fel un dirmygedig, ac fel y diystyraf o'r gwŷr. Daeth i'r byd, ac mor oruchel oedd ei gymeriad a'i gyfryngdod, fel y gallesid dysgwyl i bawb blygu iddo a'i anrhydeddu; ond na, "dirmygedig oedd, ac ni wnaethant gyfrif o hono."

3. Dyoddefodd yn ei enaid. Dywedai yn ei ing yn yr ardd, "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu." Nid ellir dywedyd pa mor drist ydoedd. "Trist *iawn.*" "Trist iawn yw fy *enaid.*" Y mae y digofaint yn pwyso yn drwm

ar fy enaid. Yr oedd yr holl dònau a'r llifeiriant yn llifo drosto, ac yntau yn tywallt ei enaid i farwolaeth, ac yn ei roddi yn aberth dros bechod.

4. Dyoddefodd yn ei gorff. "Yr Hwn ei hun a ddyg ein pechodau ni yn ei gorff ei hun ar y pren." Yr hyn a feddylir yma wrth ei gorff yw, ei holl natur ddynol. Nid yn unig efe a gymerodd enaid dynol, ond cymerodd gorff dynol hefyd. Cymerodd nid yn unig y rhan ardderchocaf o'r natur ddynol, ond cymerodd y rhan waelaf hefyd. Yr oedd yn hen drefn iddo gael corff. "Aberth ac offrwm nis mynaist, eithr corff a gymhwysaist i mi." "Yr hwn ni thybiodd yn drais bod yn ogyfuwch â Duw, a gymerodd arno agwedd gwas." "Yn gymaint a bod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau. Felly dyoddefodd yn ei gorff. A dechreuodd ddyoddef yn fore iawn. "Gŵr dirmygedig" a "chynnefin â dolur" a fu o'r dechreu. "O garchar ac o farn y cymerwyd ef, a phwy a draetha ei oes ef?" Yr oedd ei oes drwyddi yn oes o ddyoddef; ond tua'r diwedd yn Gethsemane yr oedd y dyoddef drymaf, a'i enaid oedd yn cael yr ingoedd trymaf yno. Yr oedd dyoddefiadau ei enaid mor drwm nes oeddynt yn effeithio ar ei gorff, fel ag yr oedd ei chwys yn dyferu fel dafnau o waed. Wedi hyny cafodd ei gorff ddyoddef y fflangellu, a chario ei groes, ac archollion y goron ddrain. "Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni." Oblegid ein hanwireddau ni yr estynwyd y cwysau yn hirion ar ei gefn ef. Ar ol ei fflangellu yr oeddynt yn taro y goron ddrain oedd ar ei ben â'r gorsen yn ei law, ac yna yn rhoddi y groes ar ei gefn archolledig. Yr oedd y fflangellu mor drwm fel y meddyliasant y buasai yn marw cyn myned i fryn y groes, ac am hyny cymhellasant Simon o Cyrene i ddwyn ei groes. Ond wedi ei arwain i Galfaria fryn hoeliwyd ef ar y croesbren. Yna codwyd y croesbren i fyny,

gan ei daro i'r ddaear mor chwyrn, nes oedd natur yn gystal a'i ddysgyblion yn methu dal yr olwg.

IV. Y MAN LLE Y DYODDEFODD: "Ar y pren."

Dyna y lle y bu ei ddyoddefiadau drymaf. "Yr hwn ei hun a ddyg ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren." Yr oedd yn dyoddef oddiwrth y byd, ac oddiwrth uffern, ac hefyd o'r nefoedd. Yno ar y pren y darfu i'r dyoddefiadau gydgyfarfod; pan oedd ar y pren y bu y tywydd rhyfeddaf. Erbyn ei fod ar y pren dyna y ddeddf yn dyfod ymlaen, a'r biliau yn cael eu hagor, a'r cleddyf yn deffro. Deffrowyd y cleddyf i'w daro ar y pren. Yr oedd y cleddyf yn cysgu tu draw i'r cymylau pan foddwyd y byd; yr oedd y cleddyf yn ei wain pan y llosgwyd Sodom a Gomorrah; ond dacw ar y pren y cleddyf yn deffro i daro y Cyfaill ac i arbed y gelyn; taro yn ol haeddiant a bai, taro hyd yr eithaf, taro nes cael iawn, taro nes gorphen talu, taro nes gorphen clirio y beïau, taro nes cael ffordd i arbed y gelyn. Dywedai Iesu ar y pryd, "Hon yw eich awr chwi a gallu y tywyllwch." Yr oedd uffern yn gwneyd ei gwaethaf y pryd hyny. Meddyliem fod y diafol wedi casglu ei holl fyddin i'r frwydr; ond dyrysodd; dacw ef yn ei warth. Yspeiliodd Iesu y tywysogaethau. Aeth y diafol i'r frwydr â'i ben yn gyfan, ond daeth yn ol â'i ben yn ddrylliau. Yn mhoethder y frwydr dacw y lleidr druan yn ymbil am gael ei gofio; a meddyliwn i Iesu waeddi,—'Ddiafol, yr wyf am ddwyn hwna o'th afael, a'i gymeryd i'r nef o flaen dy lygaid:' "Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys." Ond clywaf ef yn gwaeddi, "Gorphenwyd;" a chyn gorphen, clywyd a gwelwyd ef yn gorfoleddu arnynt arni hi. Dacw ef yn dechreu gorfoleddu. Y mae cyfiawnder wedi ei foddloni, y ddeddf wedi ei hanrhydeddu, uffern yn crynu, ac yntau yn gorfoleddu ar y groes. Daeth gobaith am achub heddyw. Y mae'r nefoedd yn foddlawn. Y mae'r orsedd yn glir; ac nid all holl allu uffern ddim attal y modd i

achub. Y mae uffern wedi ei maeddu trwy y gwaith mawr a wnaed ar y pren.

V. Y DYBEN MAWR O'R DYODDEF: "Fel wedi ein marw i bechodau, y byddem byw i gyfiawnder." Marw, yn y lle cyntaf, fel deiliaid cyfammod tragywyddol. Bu ef farw ar y groes fel y caffai eraill fywyd tragywyddol; ac y mae y fath oruchwyliaeth yn cael ei chario ymlaen arnynt, nes y ceir hwy i farweiddio gweithredoedd y cnawd trwy yr Ysbryd. Câ Iesu weled o lafur ei enaid, a chaiff ei ddiwallu. Nid yn ofer nac am ddim y bu farw ar y pren.

VI. Y MAE EI DDYODDEFIADAU, YN Y CYMHWYSIAD O HONYNT, YN IACHAWDWRIAETH: "Trwy gleisiau yr hwn yr iachäwyd chwi." Ac "efe a ddichon gwbl iachâu y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw."

"Fy meïau trymion, luoedd maith,
A waeddodd tua 'r nen;
A thyna pam 'r oedd raid i'm Duw
Ddyoddef ar y pren.

"Fy meïau oedd y waywffon
Drywanai 'i ystlys bur,
Fel rhedodd ffrwd o dan ei fron
O waed a dyfroedd clir."

## PREGETH XXXV.

### ANGHREDINIAETH YN CAU ALLAN O'R NEFOEDD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. OWEN JONES, GELLI, MALDWYN.*

*Yn Llanbrynmair, Rhagfyr 1821.*

HEBREAID iii. 19: "Ac yr ydym ni yn gweled na allent hwy fyned i mewn o herwydd anghrediniaeth."

Y RHAI y mae yr Apostol yn cyfeirio atynt yma ydynt y rhai yr oedd wedi son am danynt yn yr adnodau blaenorol, sef y rhai a gychwynasant o'r Aipht ar y daith tua gwlad yr addewid, ond a ddigiasant eu Duw, a syrthiodd eu cyrff yn y diffeithwch dan y farn, cyn cyrhaedd y tir dymunol. Y mae y bennod hon yn rhoddi i ni olwg arnynt, ac ar yr achos o'u syrthiad; a chasgliad oddiwrth y cwbl ydyw adnod ein testun, "Ac yr ydym ni yn gweled

* Gŵr hynod yn ei ddydd ydoedd y Parch. OWEN JONES, Gelli, sef tad y Parch. O. Jones, Gelli, presennol. Ganwyd ef yn Nhywyn Meirionydd, Chwefror 1787. Ymddengys ei fod er yn fachgen yn tra rhagori ar ei gyfoedion mewn yfed dysg, a bod gallu anghyffredin ynddo i addysgu eraill, yn enwedig trwy holwyddori yn yr Ysgolion Sabbothol, yr hyn a fu yn hyfryd waith ganddo trwy ei oes. Byddai y fath ddylanwad yn canlyn ei ymdrechion diflino gyda yr Ysgol Sabbothol, nid yn unig trwy gynnyddu rhif a gwybodaeth yr ysgoleigion, ond trwy dywalltiadau grymus o'r Ysbryd Glân. Yr enwog Charles o'r Bala yn unig a ragorai arno yn y rhan hon o'r winllan. Neillduwyd ef i'r holl waith yn y Bala, Mehefin 1819, a bu farw yn yr oedran cynnar o 41 mlwydd oed, Rhagfyr 3, 1828. Yr oedd yn un o'r pregethwyr mwyaf poblogaidd, cymeradwy, a dylanwadol yn ei oes. Dywedai

nad allent hwy fyned i mewn o herwydd anghrediniaeth." Er cychwyn yn anrhydeddus o'r Aipht, ac er cychwyn dan arweiniad Moses, ac er bod addewid wedi ei rhoddi iddynt, nis gallent hwy fyned; ac nid gwendid eu cyrff, nac amlder eu gelynion oedd yr achos o'r "nis gallent," ond eu hanghrediniaeth. Nid dim oddiallan oedd yr achos o'u methiant, ond yr hyn oedd o'u mewn oedd yr achos nas gallent fyned i mewn. Yr oedd addewid wedi ei rhoddi, ac yr oedd Duw yn ffyddlawn i'w addewid, ac yr oedd yn yr addewid fodd i fyned â hwy i wlad yr addewid; ond dyna lle y rhwystrwyd hwy, yn eu calonau eu hunain drwy eu hanghrediniaeth. Ac y mae yr Apostol yn gwneyd casgliad oddiwrth hyny yn nechreu y bennod ganlynol, ac yn dywedyd, "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei adael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol."

Y mae'r geiriau wedi eu rhoddi er rhybudd ac addysg i ni; a dyna un wers bwysig allwn ddysgu oddiwrthynt, mai anghrediniaeth ddarfu eu handwyo. Y mae y geiriau yn dysgu i ni fod y Ganaan ddaearol yn gysgod o'r Ganaan nefol; fod eu taith hwy o'r Aipht tua'r Ganaan ddaearol yn gysgod o daith y Cristion trwy'r byd tua'r bywyd tragy-

mewn pregeth effeithiol yn Moriah, Caernarfon, ar Enoch yn rhodio gyda Duw, "Mai dwy bont fu erioed dros yr Iorddonen, sef un i Enoch, a'r llall i Elias, ond fod yno *rydau lawer.*" Gwelir yn y ddwy bregeth yma o'i eiddo y fath ydoedd fel pregethwr. Fel y canlyn y canodd ei hen gyfaill J. Hughes, Pontrobert, am dano :—

"Jones o'r Gelli, seren oleu,
Danllyd lewyrchiadau llawn ;
Er mor ddysglaer fu 'n goleuo,
Cadd fachludo 'n gynnar iawn ;
Cyn cyrhaeddyd dwy a deugain,
Ei daith a'i waith orphenodd ef,
Wedi tymmor byr llafurus,
Y mae 'n gorphwyso yn y nef."

wyddol; ac mai yr hyn a'u rhwystrodd hwy i fyned i mewn i wlad yr addewid ydyw yr unig rwystr ar ein ffordd ninnau tua gwynfyd y nef; a bydd hyn yn cael ei brofi a'i egluro yn y farn ar g'oedd pawb. Caiff pob un sydd yma wybod, os bydd ar ol ac allan yn y diwedd, mai ynddo ef ei hun y bu yr achos o hyny. Trefnodd yr Arglwydd ffordd o achubiaeth, ac fe gaiff ei foli byth am hyny, a cheir gwybod yn y farn fawr y bydd pawb o wrthodwyr yr efengyl yn gorfod teimlo ac addef mai yn eu calonau eu hunain yr oedd yr achos, sef yn eu hanghredinaeth. Pwy bynag welir yn ol yn niwedd yr yrfa, gwelir mai anghrediniaeth oedd yr achos o hyny.

Gan fod y mater yn un o gymaint pwys, ac yn un o dragywyddol ganlyniad, y mae'n gweddu i ni sefyll uwch ei ben yn ddifrifol pan yn chwilio y fath eiriau. Ni a gymerwn ryw bump o bethau dan ein hystyriaeth:—

I. Beth ydyw anghrediniaeth? sef y pechod sydd yn rhwystro dynion i fyned i mewn i wlad yr addewid.

II. Beth sydd yn dangos ei fawr bechadurusrwydd?

III. Beth ydyw yr achos, neu y gwreiddyn, o'r drwg yma?

IV. Yr effeithiau sydd yn tarddu o'r gwreiddyn melldigedig hwn.

V. Beth fydd y canlyniad i'r neb a fyddo byw a marw yn ei afael andwyol?

I. Beth ydyw Anghrediniaeth? Pa beth sydd i ni ddeall wrth anghrediniaeth? Y mae yr Ysgrythyrau yn ei osod allan mewn dau olygiad:—

1. Fel y mae yn teyrnasu yn y rhai nad ydynt yn credu.

2. Fel y mae yn faich ar y credadyn, ac yn cael ei gario ganddo i bob man, fel rhyw gorff o farwolaeth. Y mae y rhai sydd yn credu yn gorfod cwyno o'i blegid. Y mae llawer yn gorfod teimlo ei ddylanwad pan ar eu gliniau yn

gweddïo fel rhyw gaethiwed, a phan yn canu mawl fel oerfelgarwch calon, a phan yn darllen y Bibl fel gorchudd dros eu llygaid, nes y maent yn methu gweled gogoniant ei drysorau. Baich trymaf y credadyn ydyw, ac y mae yn gorfod gwaeddi yn aml, Pa bryd y caf roddi fy maich i lawr? Lle y mae yn cael ei deimlo yn faich y mae gobaith y ceir ei roddi i lawr, ac y mae yn gysur y ceir ei adael ar ol cyn hir; ond lle y mae yn cael teyrnasu, teyrnasu i farwolaeth y mae, ac y mae pawb sydd yn marw yn ei afael yn myned i afael yr ail farwolaeth.

Yn awr cymerwn y sylw yma arno, fel y mae yn melldithio ein gwlad, ac yn dinystrio cannoedd ydynt yn sŵn yr efengyl. Y mae miloedd yn ngwlad yr efengyl, ac yn sŵn rhybuddion yr efengyl, yn cysgu yn ddigon tawel ac esmwyth yn ei afael. Y mae llaweroedd yn gwrando ymhob oedfa, ac heb fod mewn dim gofid erioed am eu cyflwr. Y mae hyny yn arwydd ei fod yn teyrnasu yn eu calon. Ystyriwn am dipyn bach beth ydyw anghrediniaeth. Dyna beth ydyw, ammheu geiriau Duw. Dyna fel y dywedir am Abraham, tad y ffyddloniaid, "Nid ammheuodd efe addewid Duw trwy anghrediniaeth." Ni roddodd efe yr un lle i ammheuaeth am addewid Duw, er y gallasai rheswm cnawdol weled llawer o bethau i beri iddo ammheu. Y mae ammheuaeth weithiau,

1. Yn ammheuaeth am y bôd o Dduw. Dyna beth ydyw iaith ddirgel anghrediniaeth yn y galon, "Nid oes un Duw." Nid oes neb mewn gwlad oleu fel hon a anturiai ddywedyd â'i dafod nad oes yr un Duw, ond dyna ydyw iaith ddirgelaidd ei galon. Y mae pob hyfdra i bechu yn tarddu oddiwrth hyn, sef hyfdra y meddwl i dybied nad oes yr un Duw. Oddiar dyb felly y mae pob hyfdra i bechu yn tarddu. Y mae credu fod Duw yn bod yn tori grym y meddwl i bechu yn ei erbyn. Nid ellir cael

y meddwl i bechu yn erbyn Duw, heb fod yno ryw ammheuaeth gyda golwg ar Dduw.

2. Ammheuaeth am wirionedd Gair Duw. "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd." Ni chredasant y gair, am hyny ni wnaethant sylw o hono. Y mae gair heb ei gredu fel gair heb ei glywed. Pan oedd Lot yn rhybuddio ei ddawon am y dinystr oedd i ddyfod ar Sodom, ni chredent ef, ac am hyny yr oeddynt yn ymroi i'w wawdio. Y mae gair heb ei gredu yn air heb ei dderbyn, ac yr un peth a gair heb ei glywed; hyny yw, o ran ei effeithiau ar y gwrandäwyr.

3. Ammheuaeth am fygythion Duw. Byddai yn anhawdd i ddyn lynu gyda'i bechod oni b'ai ei fod yn ammheu y bygythiad. Y mae yr hwn nad yw yn credu y bygythiad yn dywedyd, "Heddwch, pan nad oes heddwch," ac "yn chwanegu meddwdod at syched." Pan y mae Duw yn rhybuddio fod perygl, 'Ni choeliaf fi,' medd yr ammheuwr. Pan ei rhybuddir ei fod ar lwybr niwed, 'Ni choeliaf fi,' ydyw ei ateb. Y mae yn dywedyd 'heddwch pan nad oes heddwch.'

4. Ammheuaeth o addewidion Duw, ac felly y mae yn eu dibrisio ac yn eu taflu y tu ol i'w gefn.

5. Ammheuaeth o dystiolaethau Duw am ei anwyl Fab.

II. Y MAE PECHADURUSRWYDD Y FATH AMMHEUAETH yn ymddangos wrth ystyried y pethau canlynol:—

1. Y mae yn ddirmyg ar gymeriad Duw, am ei fod yn ceisio ei wneyd yn gelwyddog. Ni buaswn yn beiddio dywedyd geiriau fel hyn, oni b'ai fod y Bibl yn eu dywedyd. Yr hwn nid yw yn credu i Dduw a'i gwnaeth ef yn gelwyddog, am na chredodd y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab." Medd y Bibl mewn man arall, "Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ei wneuthur ef yn gelwyddog, a'i air ef nid yw ynom." Fel y mae credu yn selio mai geirwir yw Duw, felly y mae anghredu yn

ceisio selio mai celwyddog ydyw. Pechod ofnadwy ydyw yr hwn sydd yn ceisio gwneyd Duw yn gelwyddog! Ymddwyn tuag at air Duw fel y gwnelid at air celwyddwr! Dyna iaith calon yr ammheus am air Duw, nad ydyw yn werth ei sylw. O y fath bechod ofnadwy! Onid yw yn rhyfedd gweled y fath bechaduriaid â'u traed a'u dwylaw yn rhyddion? Rhyfeddwn amynedd Duw yn gallu goddef y fath ddirmyg gan greadur y mae anadl ei fywyd yn ei law!

2. Y mae anghrediniaeth yn ddirmyg ar y cariad mwyaf. Y mae daioni Duw i'w weled yn ngwaith y greadigaeth ac yn ei holl weithredoedd; ond dyna lle y mae ei anfeidrol gariad yn ymddangos yn ei waith yn rhoddi ei anwyl Fab er achub dyn. "Yn hyn y mae cariad." Dyna y lle y darfu i foroedd o gariad dori allan mewn gweithredoedd. "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Y mae yr anghredadyn yn ateb yn ddirgel, 'Os rhoddodd Duw ei Fab nid wyf fi yn meddwl ei dderbyn; nid wyf yn gweled fod arnaf ddim o'i eisieu; nid wyf yn meddwl fod dim drwg na pherygl bod hebddo.' Y mae holl gariad Duw yn anfoniad ac yn angeu ei Fab yn cael drwy hyny ei ddirmygu.

3. Y mae doethineb Duw yn cael ei ddirmygu drwy anghrediniaeth.

4. Y mae anghrediniaeth yn dirmygu cyfryngdod Mab Duw. Heblaw dirmygu cariad Duw yn rhoddi ei Fab, y mae yn dirmygu y Mab am ei roddi ei hun. Y mae y geiriau hyny yn dangos natur ofnadwy y fath anghrediniaeth. "Yr un a ddirmygai gyfraith Moses a fyddai farw heb drugaredd dan ddau neu dri o dystion; pa faint mwy cosbedigaeth, dybygech chwi, y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod, trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y

gras?" Beth ydyw hyny? Anghrediniaeth. Beth y mae anghrediniaeth yn ei wneyd? Gwrthod a dirmygu Crist. Ai dyna y cwbl? Nage, y mae yn myned ymhellach. Y mae yn mathru Mab Duw. Dyna bechod nad all y diafol byth ei gyflawni: mathru Mab Duw. Ni chafodd ef ddim cynnyg arno yn Waredwr. Pa beth bynag fydd yn ei gyflog a'i gosb, ni bydd ddim wedi gwrthod y Ceidwad. Pa beth bynag fydd yn y cyhuddiad yn ei erbyn, ni bydd hyny ddim yn y *charge*. Mae anghrediniaeth yn mathru Mab Duw; ac y mae heblaw hyny yn barnu yn aflan waed y cyfammod. Synwch, anwyl wrandäwyr! Y mae anghrediniaeth yn dirmygu angeu Crist, ac yn dywedyd mai yn ofer y daeth i'r byd, i barthau isaf y ddaear; mai yn ofer y dyoddefodd y gwawd a'r poeredd, a'r fflangell, a'r goron ddrain, a'r gruddfanau a'r chwys yn yr ardd, a'r hoelion, a'r groes. Y mae pechod gwrandäwyr efengyl, ag sydd er hyny yn gwrthod y Gwaredwr, yn fwy na phechod yr hen Iuddewon a'i croeshoeliasant. Y mae y rhai sydd yn ei wrthod yn ail groeshoelio Mab Duw, gan ei osod yn watwar. Pan groeshoeliwyd ef y pryd hyny yr oedd fel rhyw faen ar lawr; tramgwyddo wrth y maen ar lawr a wnaethant. Yr oedd mewn tlodi mawr, yn isel, ac ar agwedd gwas, dan len o ddarostyngiad; ond y mae yn awr wedi cael ei ddyrchafu, ac yn eistedd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd. Y mae y maen wedi myned yn awr yn ben y gongl. Y mae ei wrthod yn awr dan yr efengyl, pan y mae ei genadon wedi cael eu hanfon allan i'w gynnyg, a phan y mae Duw ei hun drwyddynt hwy yn ei gynnyg, yn fwy pechod na chreulondeb llofruddiog y rhai fuont yn ei groeshoelio. Cofiwch, gyfeillion, yn gymaint ag i chwi glywed yr efengyl, y mae hyny wedi eich gosod ar dir nad yw yn bosibl i chwi gilio o hono heb fod naill ai yn dderbynwyr o Grist, neu yn wrthodwyr o hono; ac felly, bydd yn esmwythach ar drigolion Sodom a

Gomorrah nag ar y rhai a ânt o Gymru i'r farn heb dderbyn Crist. Ni bydd neb ar aswy law y Barnwr yn y farn ond rhai wedi gwrthod Crist. Bobl ieuainc hawddgar yr Ysgolion Sabbothol! ni chewch chwi byth mo'r ffordd i uffern heb fathru Mab Duw dan eich traed. Y mae yn fwy anhawdd myned i uffern yn awr nag y bu; ond am y rhai a anturiant fyned yno yn awr, hwy a ânt yn ddyfnach na neb yno. Y mae yn fwy anhawdd myned yno yn awr nag oedd hi yn amser ein tadau, oblegid y mae Duw wedi codi gwasgfa ar lawer calon yn eich achos; ac am hyny y mae yn rhaid i chwi ymroi i ymgaledu. Y mae cymaint o bethau yn cael eu gollwng atoch. Y mae cymaint o wahoddiadau ar eich hol; y mae cymaint o golli dagrau ar eich rhan. Ai tybed fod neb yn yr odfa yma heno yn ymgaledu er cyflawni mesur eu hanwiredd?

III. Pa beth ydyw yr achos o hyny? Ni ddichon dim fod yn achos o'r fath bechu ond gelyniaeth yn erbyn Duw. Pa le y ceir lle i ammheuaeth ond mewn gelyniaeth yn erbyn Duw? Pa le y cawn unrhyw sail i ammheu geiriau Duw? O na ddisgynai ysbryd gweddi ar bawb o honom nes yr elai yn floedd i'r nefoedd am i'r nerthoedd ddyfod arnom. Nid oes un achos ond gelyniaeth yn erbyn Duw i'r ammheuaeth. Dywedodd Crist wrth yr Iuddewon, "Ni fynwch ddyfod ataf fi fel y caffoch fywyd." Nid, ni *ellwch* ddyfod, ond ni *fynwch* ddyfod.

IV. Yr effeithiau a ddilynant Anghediniaeth. Gwreiddyn ffrwythlawn o ddrygau ydyw. Pren cangenog â llawer o gynnyrchion arno, ac y mae ei ffrwythau yn aml iawn.

1. Y mae y galon yn ei afael yn cilio oddiwrth y Duw byw.

2. Y mae yn rhoddi mantais i'r diafol gadw castell yr enaid yn ei feddiant. Lle y mae anghrediniaeth yn teyrnasu, yno y mae Satan yn cael bod yn feddianydd. Lle y mae

anghrediniaeth, yno y mae y cryfarfog yn ei rwysg. Nid wyf yn dywedyd ei bod felly lle y mae anghrediniaeth wedi myned yn faich, y mae yn debyg o gael ei orchfygu yno; ond lle y mae yn cael teyrnasu yno y mae y cryfarfog creulawn yn cadw meddiant. "Yn y rhai y dallodd duw y byd hwn feddyliau y rhai digred." Tra y gallo ef gadw y meddwl yn ei afael, y mae yn hawdd iddo gadw y cwbl yn ei feddiant. Nid yw yn anhawdd arwain dyn dall dros graig, oblegid nad ydyw yn gweled; a dyna y modd y mae y diafol yn gallu hudo ei holl deulu tuag uffern dan ganu; heb weled y perygl y maent. Trwy hyny y mae y twyllwr yn cael ei wrando a'i ddilyn gan rai heb ddim gwasgfa ar eu meddwl. Gall y cenadau gyhoeddi Ceidwad nes bron ymddryllio, tra y bydd rhai gwrandäwyr yn gallu cysgu ar eu cyfer. Llefwch am i'r Hwn a agorodd lygaid y dall ddyfod i agoryd llygaid deillion ein cyfarfodydd.

V. YR YDYM YN GWELED NAD ALLENT HWY FYNED I MEWN O HERWYDD ANGHREDINIAETH. Peth trwm iawn yw meddwl am neb yn debyg o fod yn ol; ond ofnadwy fydd bod yn ol,—bod yn ngafael colledigaeth. Y mae meddwl am hyny yn peri dychryn. Ond O! beth fydd y profiad o hyny! Y mae arnaf ofn am lawer fod yr arwydd ddu i'w gweled yn amlwg ar eu bywyd. Y maent yn gwrando dichon er ys pymtheng mlynedd, ond yn debyg o fod yn ol er eu holl wrando! Beth fydd y canlyniad? Y mae yn drwm ei feddwl rhagor ei ddywedyd. Beth fydd y canlyniad o wrando llawer, ac wedi y cyfan fentro i'r farn yn ngafael anghrediniaeth? Ni allant fyned i mewn. Y mae Duw wedi agor y drws yn ei addewid o led y pen; a'r comisiwn mawr oddiar furiau Sïon yw, "Pwy bynag a ddêl, nis bwrir ef allan ddim." Y mae y cenadau i waeddi, "Pwy bynag a ddêl." Pa fodd yr oedd Crist ei hun yn gwaeddi uwch ben Jerusalem? "O Jerusalem, Jerusalem, pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant ynghyd megys

y casgl iar ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech?" Pa sawl gwaith, wrandäwr anwyl, y bu yn gwaeddi ar dy ol dithau? Pa sawl cenad a anfonodd i waeddi ar dy ol? Pa sawl gwaith y bu yn curo wrth dy ddrws? Pa sawl gwaith y bu yn ymresymu â dy feddwl? Y mae y waith olaf yn agos. A dyma y canlyniad yn iaith y Bibl, "Yr hwn nid yw yn credu a ddamniwyd eisoes." Nid yn unig hi fydd yn ddrwg arno rywbryd, ond y mae yn ddrwg arno yn awr. O enaid! byddai yn anhawdd i ti gysgu pe deallit y fan yr wyt ynddo. Y mae adnod arall yn dyweyd, "Yr hwn nid yw yn credu yn y Mab ni wêl fywyd, eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef." Nid peth ysgafn yw hyny.

Rhoddaf dri chynghor wrth derfynu, rhag i neb fyned adref dan ormod o lwyth.

1. Os wyt yn ofni bod yn ol, tyred i sŵn yr efengyl tra y gallo dy draed dy gario, oblegid y mae yr Arglwydd wedi trefnu yr efengyl yn foddion o ffydd; ffydd sydd drwy glywed Gair Duw; am hyny cadw yn sŵn yr efengyl. Aeth tair mil unwaith o rai mor galed a thithau i wrando ar bysgodwyr yn pregethu; a thra yr oedd y pysgodwr yn pregethu, aeth y goleu i mewn i'w calonau tywyll, nes y gorfu i'r cryfarfog ffoi ar unwaith.

2. Nid yn unig deuwch i'r moddion, ond cofiwch arfer gweddi, a gwaeddwch, Argyhoedda fi o fy anghrediniaeth; oblegid byddwch farw heb Grist, os byddwch farw yn eich anghrediniaeth. Milwriwn yn erbyn anghrediniaeth nes cael bywyd yn yr Iesu.

3. Gweddïwch am gael rhagorol fawredd nerth Duw i greu anian newydd, ac i weithredu yn rymus yn yr enaid.

# PREGETH XXXVI.

## YR ARWEINYDD A'R PLANT.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. OWEN JONES, GELLI.

*Yn Llanbrynmair, Gorphenaf 1822.*

RHUFEINIAID viii. 14: "Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw."

Y MAE yr apostol yn niwedd y bennod o'r blaen yn adrodd ei brofiad, a phrofiad holl saint Duw drwy yr holl fyd. Y mae y profiad yn un nodedig iawn. Yr oedd yn teimlo rhyfel ysbrydol o'i fewn. Yr oedd corff y farwolaeth yn peri iddo wylo. Yr oedd yn teimlo deddf yn ei aelodau yn gwrthryfela yn erbyn deddf ei feddwl; ac yn wyneb hyny y mae yn gwaeddi, "Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon?" Eithr er yr holl gwyno y mae yn teimlo achos i ddiolch: "I Dduw," meddai, "y byddo y diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth drwy ein Harglwydd Iesu Grist." "Yr wyf fi â'r meddwl," meddai, "yn gwasanaethu cyfraith Duw, ond â'r cnawd, cyfraith pechod." Ond yn nechreu y bennod hon, er yr holl ofid a'r cwyno oddiwrth ei lygredd a chorff y farwolaeth, y mae yn tori allan i orfoleddu, "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Er eu bod yn cwyno yn aml dan eu beichiau trymion, ac o herwydd dichellion eu gelynion, nid oes yn awr ddim damnedigaeth iddynt; a'r hyn sydd yn sicrhâu hyny iddynt ydyw, eu bod yn Nghrist Iesu; a'r hyn sydd yn profi hyny ydyw, eu bod yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd.

Wedi hyny y mae yr apostol yn dangos yr hyn fu yn foddion eu rhyddhâd: "Canys deddf Ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu a'm rhyddhäodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth." Yr oedd eu rhyddhâd oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth yn brawf eu bod yn Nghrist Iesu. Lle y mae pechod yn cael teyrnasu, y mae yr ail farwolaeth yn dilyn. Nid ellir bod yn rhydd oddiwrth ddamnedigaeth, ac ar yr un pryd fod yn gaeth dan lywodraeth pechod; oblegid lle y mae pechod yn teyrnasu, y mae yn teyrnasu i farwolaeth. Felly y mae yr apostol ar y seiliau hyn yn gwaeddi, "Nid oes dim damnedigaeth." Peth pwysfawr fyddai i ni ystyried pa fodd y mae rhyngom â'r ddamnedigaeth. Y modd y mae i ni wybod hyny yw ymchwilio pa fodd y mae rhyngom â phechod. Lle nad yw pechod yn faich, y mae ei wasgfa yn ol. Lle y mae Duw yn tynu ymaith y ddamnedigaeth, y mae yn rhoddi gwasgfa yn y galon. Wedi hyny y mae yr apostol yn sylwi yn neillduol ar y gwahaniaeth sydd rhwng y rhai sydd yn Nghrist a'r rhai sydd heb fod. "Os byw yr ydych yn ol y cnawd," meddai; os byw yr ydych yn ol tueddiadau eich natur, heb farwhâu eich llygredd, ond ymollwng i gyflawni eu chwantau, y mae marw i ganlyn; "eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corff drwy yr Ysbryd, byw fyddwch." Yna y mae geiriau ein testun yn dyfod i mewn fel rheswm am hyny: "Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyny sydd blant i Dduw." Lle y mae Ysbryd Duw yn arwain, y mae yn arwain y rhai sydd dan ei arweiniad i farweiddio gweithredoedd y corff. Pwy bynag sydd yn byw i gyflawni chwantau y cnawd, ac i feithrin y llygredd sydd ynddynt, y mae hyny yn brawf anffaeledig nad ydynt dan arweiniad Ysbryd Duw; oblegid y mae y rhai sydd dan arweiniad Ysbryd Duw yn cael eu harwain i farweiddio gweithredoedd y cnawd; a dyna y canlyniad o hyny, cael bod yn blant i Dduw. Dyna y nôd sydd arnynt yn bresen-

nol, a dyna yr arwydd fydd arnynt yr ochr draw, pan y bydd eu hen ddyn wedi marw yn llwyr, a hwythau wedi dianc o gyrhaedd pob llygredd. "Y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw."

Ystyriwn

I. NATUR YR ARWEINIAD.

II. Y PETHAU YR ARWEINIR ATYNT, A'R PETHAU YR ARWEINIR ODDIWRTHYNT.

III. BRAINT Y RHAI SYDD DAN YR ARWEINIAD: "Y rhai hyn sydd blant i Dduw."

I. Ychydig nodiadau am YR ARWEINIAD.

1. Y mae pawb dan arweiniad un o ddau ysbryd. Nid oes yr un dyn yn bod nad yw dan arweiniad un o'r ddau ysbryd. Nid oes ond dau ysbryd, a dau arweiniad; ac nid oes ond dau lwybr a dau ymdeithiwr yn y byd. Y mae pawb yn teithio â'u hwynebau tuag un o ddwy wlad. Y mae y rhai nad ydynt dan arweiniad Ysbryd Duw dan arweiniad ysbryd y byd—ysbryd llywodraeth yr awyr. Y mae pawb dan un o ddau arweinydd. Wrandäwyr anwyl! a wyddoch chwi pwy yw eich arweinydd?

2. Natur arweiniad yr Ysbryd Glân.

(1.) Lle y mae Ysbryd Duw yn arwain, y mae yn arwain yn gyntaf *at* y moddion, neu i'r moddion a drefnodd ef ei hun er arwain eneidiau; sef at y gair, at yr efengyl, at y dystiolaeth. Dyna y llyfr y mae yn eu harwain i'w astudio. At hwn y mae yn eu harwain i gael eu dysgu.

(2.) Y mae yn arwain *trwy'r* moddion. Y mae llaweroedd wedi dyfod i'r moddion, ond heb ddyfod drwy'r moddion; ond pa le bynag y mae yr Ysbryd Glân yn arwain, nid yn unig y mae'n arwain i'r moddion, i sŵn yr efengyl, ond y mae yn arwain drwy'r sŵn i ddeall yr efengyl. Y mae yn agor deall y pechadur i ddeall yr hyn sydd yn swnio yn ei glust; y mae yn rhoddi goleuni ar y dystiolaeth, er i'r enaid ganfod yr hyn sydd ynddi, ac y mae yn

arwain drwy y clywed a'r glust i'r deall a'r galon. Yn y tywyllwch y mae yr ysbryd drwg yn arwain; mewn tywyllwch a dallineb y mae grym teyrnas y diafol; ond arwain o dywyllwch i oleuni y mae yr Ysbryd Glân.

(3.) Nid yn unig y mae yn arwain i ddeall yr efengyl, ond y mae yn arwain yr ewyllys i blygu iddi. Yr ewyllys ydyw castell y galon; ac os ennillir ewyllys y dyn, daw y dyn gyda'i ewyllys. A dyna y castell y mae Ysbryd Duw yn ei ennill wrth weithio yn ysbrydol a nerthol. Y mae llawer un wedi cael ei oleuo i raddau, ond y mae yr ysbryd drwg, er y cyfan, yn cadw yr ewyllys yn ei feddiant ei hun. Er fod y dyn yn cydsynio â gwirioneddau crefydd, er hyny y mae ei wreiddyn yn ddrwg. Ond pa le bynag y mae Ysbryd Duw yn arwain, y mae yn troi yr ewyllys. A ydyw Ysbryd Duw, medd rhywun, yn cael y dyn yn ewyllysgar, neu ynte a ydyw yn ei arwain yn groes i'w ewyllys? Nac ydyw, yr un o'r ddau. Nid yw yn cael neb yn ewyllysgar i ddyfod, ac nid yw ychwaith yn arwain neb yn groes i'w ewyllys. Y mae yn cael pob dyn yn elyn, yn meddiant Satan, yn y tywyllwch, yn foddlawn yn y man lle y mae, er ei fod yn ymyl ei ddamnio; ond y mae yn troi yr ewyllys. Nid newid yr ewyllys y mae, ac nid rhoddi ewyllys newydd, ond rhoddi anian newydd, rhoddi tuedd newydd yn yr hen ewyllys. "Y rhai a arweinir gan Ysbryd Duw." Mae yn gweithio ar yr ewyllys, ac yn gweithio yn nerthol. Pan yn gweithio y mae bob amser yn gweithio gyda nerth. Y mae llawer o ddadleu yn bod ynghylch gwaith yr Ysbryd ar yr ewyllys. Myn rhai fod ewyllys go dda gan rai i dderbyn yr hyn y mae eraill yn ei wrthod; ond yr ydym ni yn barnu mai cael pob ewyllys yn ddrwg y mae ef, ac mai ef sydd yn ei gwneyd yn ewyllysgar. Y mae'n wir fod gan ddyn ewyllys rydd, ond ewyllys rydd i ymladd yn erbyn Duw ydyw, ewyllys rydd i roddi deddf Duw dan draed ydyw, ac i ddal arfau gwrthryfel yn erbyn ei lywodraeth,

nes y caiff y dyn ei newid, nes y caiff dröedigaeth. Wel, medd rhyw un, mewn ewyllys gaeth y mae yn myned â dynion i'r nefoedd. Nage, ewyllys rydd sydd ganddynt oll. Mae pob un sydd yn myned i'r nefoedd yn myned yno gydag ewyllys rydd; ac y mae pob un sy'n myned tuag uffern yn myned âg ewyllys rydd, yn ol ei ddewisiad. Y mae gan y rhai sydd yn myned tua'r nefoedd anian ag sydd yn dymuno y ffordd sydd yn arwain yno, ac yn dymuno cael gweled y wlad, ac yn chwennychu cael myned i mewn iddi.

3. Lle y mae Ysbryd Duw yn gweithredu y mae yn gweithredu yn effeithiol, yn anorchfygol, ac yn gadwedigol.

(1.) Yn nerthol. Pan yn gweithredu ar ddyn y mae yn ddigon nerthol i'w ddarostwng. Rhaid cael cymaint o nerth ag sydd eisieu i godi y meirw i droi yr enaid. Rhaid cael nerth Dwyfol, nid nerth dynol. Dy bobl ydynt ewyllysgar o hyd o'r cychwyn? Nage, "dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth." Y peth mwyaf a all fod mewn odfa ydyw ennill yr ewyllys trwy air y gwirionedd. Yn hyny y mae mawredd nerth Duw yn cael ei amlygu. Clywsoch lawer gwaith am ddydd nerth Duw. Pa faint wyddoch chwi am dano? A ydych wedi ei weled a'i deimlo a'i fwynhâu?

(2.) Y mae yn gweithredu yn ddengar. Ei dynu y mae â rhaffau dynol, a'i rwymo â rhwymau cariad. Y mae yn dangos uffern iddynt, ond nid dyna sydd yn troi eu calon, ond rhwymau cariad. Y mae yn eu gorchfygu trwy ddangos iddynt ei gariad. Gweled ei fod wedi pechu yn erbyn Duw mor dda, mor lawn o gariad, ddarfu droi calon llawer un. Y mae llawer wrth weled mawredd ei gariad yn methu maddeu iddynt eu hunain am iddynt erioed bechu yn ei erbyn. Nid oes yma neb a ddaeth at Dduw yn wirioneddol os ydyw heb gael golwg ar ei gariad. Nid fel gwraig Lot y mae y cyfryw. Myned o orfod yr oedd hono. Buasai hono yn aros ar ol yn Sodom pe cawsai ddymuniad ei chalon; yr oedd ei thrysor yno. Ond

y mae Ysbryd Duw yn arwain fel yr oedd gyda Ruth. Fe gafodd ei mam yn nghyfraith gan Ruth droi yn ol at ei phobl ac at ei duwiau? Naddo; eithr dywedai, "Nac erfyn arnaf fi i ymadael â thi; dy bobl di fydd fy mhobl i, a'th Dduw di fy Nuw innau." Fel pe dywedasai, Ni waeth i ti heb son am fy nuwiau i; ni feddaf fi yr un duw ond dy Dduw di. Y mae llawer wedi bod yn meddwl am grefydd nad oes dim ynddi ond cael dianc rhag y ddamnedigaeth, heb ystyried fod dim pleser na mwynhâd i'w gael ynddi yma. Ond cofia, enaid, nad oes dim gwir bleser i'w gael mewn dim ond mewn gwir grefydd. Denu y mae Ysbryd Duw. Y mae yn dangos Gwrthddrych o flaen yr enaid nes y bydd y galon yn darfod â phob peth arall yn yr olwg arno. Y mae yn dangos y fath degwch ynddo nes yw yr enaid yn ei weled yn rhagori ar ddeng mil. Y mae Ysbryd Duw yn arwain trwy weithredu yn nerthol ar yr enaid, ac eto y mae yr enaid yn cael ei arwain o'i fodd.

II. Y MAE YN ARWAIN ODDIWRTH RAI PETHAU, AC AT BETHAU ERAILL.

1. Y mae yn arwain y meddwl o'r dychymygion oedd ganddo am Dduw i wir adnabyddiaeth o hono. Y mae y rhai sy'n cael eu harwain gan Ysbryd Duw yn cael "meddwl i adnabod yr hwn sydd gywir." Maent yn cael y fath olwg arno, a'r fath adnabyddiaeth o hono nes ydynt yn dyfod i'w addoli o fodd eu calon.

2. Y mae'r Ysbryd yn eu harwain o'r tybiau oedd ganddynt am bechod, nes ei weled yn dra phechadurus. Y mae yn eu harwain i'w weled mor ddrwg nes y byddant yn rhyfeddu na buasent yn uffern; ac i orfoleddu a rhyfeddu am fod modd i gael gwaredigaeth oddiwrtho.

3. Oddiwrth y pwys a'r gwerth yr oeddynt yn ei roddi ar eu bratiau budron eu hunain; i gyfrif y peth ag oedd yn elw, yn golled. Y maent yn cael golwg ar gyfiawnder a guddia eu gwarth byth; cyfiawnder na bydd arnynt ddim ofn na chywilydd ynddo yn y farn, lle y bydd gwarth

miloedd yn cael ei ddadguddio. Enaid euog! dyna gyfiawnder all dy guddio.

4. Y mae yn tywys i bob gwirionedd. Arweinydd rhyfedd iawn ydyw. Nid oes neb a ânt dan ei arweinyddiaeth yn myned ar gyfeiliorn. Y mae yn goleuo ac yn unioni y meddwl am bob peth. Gofynwn am gael bod dan ei arweiniad. Y mae yn arwain yr enaid oddiwrth y pethau na byddant o gysur iddo pan yn gwynebu byd arall, ac at y pethau y bydd yn dda ganddo fod yn eu gafael wrth farw. Y mae yn arwain i loches ddiogel, i'r noddfa glyd, i ymguddio am ein bywyd dan arwydd y gwaed. Ni bu erioed y fath arweinydd profiadol, caredig.

(1.) Arweinydd gwybodus ydyw. Y mae yn gwybod pa fodd i arwain. Arweinydd ydyw yn gwybod am bob tywydd all gyfarfod yr enaid. Efe a ŵyr pa fodd i arwain. Arweinydd yn gwybod am dwyll y galon, ac am rym ei llygredd, ac am bob dichell o uffern, ydyw ef. Gŵyr am bob croesffordd y maent mewn perygl i droi iddi o ffordd y nefoedd.

(2.) Arweinydd galluog ydyw hefyd. Medr wneyd yr hyn a fyno yn ol ei ddoethineb a'i ewyllys ei hun.

(3.) Arweinydd diymmod ydyw. Ni roddodd neb erioed i fyny ar ol dechreu eu harwain.

(4.) Fe bery i arwain hyd y diwedd. Nid cychwyn a dywedyd wedi hyny, Dos dy hunan bellach; ond para i arwain y mae drwy bob peth hyd y diwedd. Fe ŵyr y byddai iddynt ddyrysu a throi o'r ffordd, ac y byddai i ryw elyn eu hudo, oddieithr iddynt gael eu harwain; ac o ganlyniad efe a'u harwain hyd angeu. Mae yma rai dan ei arweiniad er ys llawer blwyddyn bellach. Buasent wedi colli y ffordd lawer gwaith o'u rhan eu hunain, ond para i'w harwain yn dyner y mae. Buont yn symud ar fin creigiau seith peryglus lle y syrthiodd llawer, a buont yn cysgu yn nghanol eu gelynion, ond y maent eto o'r tu fewn i'r

trothwy. Yr oedd y Salmydd yn gweled gwerth ei arweinyddiaeth. "Yr Arglwydd," meddai, "yw fy Mugail; ni bydd eisieu arnaf. Efe a wna i mi orwedd mewn porfeydd gwelltog, efe a'm tywys gerllaw y dyfroedd tawel." A oes genyt ti ddim ymddiried ynot dy hun? Nac oes ddim; ond y mae genyf Arweinydd y gallaf ymddiried ynddo. Ië, dichon yr ymdarewi yn burion gydag ef tra y byddi byw, ond beth wedi hyny? "Ië, pe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu nid ofnaf niwed, canys yr wyt ti gyda mi." Mae genyf Arweinydd a'm cynnal yn y dyfroedd dyfnion. O gyfeillion! ni wyddoch yn y byd pa dywydd sydd yn eich ymyl; ymgedwch yn agos at eich Arweinydd. "A'th Ysbryd," meddai Dafydd, y'm harweini." Gadewch iddo drefnu eich taith fel y gwelo yn dda, ac efe a'ch cynnal yn ddigwymp hyd y diwedd.

III. Braint y rhai a arweinir ganddo: "Y rhai hyn sydd blant i Dduw;" ac y maent yn etifeddion hefyd. Beth bynag yw eu tywydd y maent yn etifeddion, a chânt yr etifeddiaeth. Mae ganddynt yr enw newydd, yr enw tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith. Plant ydynt i Dad fydd byw byth. Ni welir hwy byth yn amddifaid. Byw yw eu Gwaredwr, a byw fyddant hwythau hefyd. Cydweithia pob peth er daioni iddynt. Plant ydynt a gânt yr ymgeledd a'u gwnel yn gymeradwy i ymddangos o flaen y frawdle fawr.

Beth meddwch chwi am yr arweinyddiaeth yma? "Od oes neb heb Ysbryd Crist ganddo, nid yw hwnw yn eiddo ef." A y grefydd sydd heb ei arweinyddiaeth ef yn ddrylliau yn erbyn y creigiau; ond y mae yr Arweinydd i'w gael yn awr. Er ei fwyn ei hun y mae yn arwain, a chaiff y gogoniant. Bydd yn rhyfedd gweled ein bath ni wedi cyrhaedd yr hafan ddymunol. Caiff ef y clod am ein harwain yno. Ac enaid gwan, dyna i ti ddadl pan ar dy liniau, "Er mwyn dy enw mawr, arwain finnau."

## PREGETH XXXVII.

### GWELEDIGAETH YR ESGYRN SYCHION.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. MORRIS ROBERTS, BRYN LLIN, SIR FEIRIONYDD.*

*Yn Llanbrynmair, 1822.*

EZECIEL xxxvii. 1—4: "Bu llaw yr Arglwydd arnaf, ac a'm dyg allan yn ysbryd yr Arglwydd, ac a'm gosododd yn nghanol dyffryn, a hwnw oedd yn llawn esgyrn. Ac efe a wnaeth i mi fyned heibio iddynt o amgylch ogylch; ac wele hwynt yn aml iawn ar wyneb y dyffryn; wele hefyd sychion iawn oeddynt. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ha fab dyn, a fydd byw yr esgyrn hyn? A mi a ddywedais, O Arglwydd Dduw, ti a'i gwyddost. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Prophwyda am yr esgyrn hyn, a dywed wrthynt, O esgyrn sychion, clywch air yr Arglwydd."

Y MAE y weledigaeth hon am yr esgyrn sychion, o ran yr ystyr lythyrenol o honi, yn arwyddo gwaredigaeth yr Iuddewon o gaethiwed Babilon, a'u dychweliad i'w

* Ganwyd y Parch. MORRIS ROBERTS yn y flwyddyn 1799, mewn lle o'r enw Llechwedd Ystrad, plwyf Llangower, Sir Feirionydd; ond yn mhlwyf Llanuwchlyn y dygwyd ef i fyny, ac yn yr Hen Gapel dan weinidogaeth addysgiadol Dr. George Lewis. Ymunodd ar ol hyny gyda y Methodistiaid Calfinaidd, a chyda hwy y bu yn pregethu yn y wlad hon am tua deunaw mlynedd yn dra effeithiol a chymeradwy. Yn 1831 aeth ef a'i deulu drosodd i America; ac ymhen ychydig flynyddau, o herwydd annoethineb rhai yn ddiammheu, am nad allasent gydweled ar rai pynciau athrawiaethol, ymadawodd â'r hen gyfundeb at yr Annibynwyr, gyda pha rai y bu yn weinidog parchus a llafurus hyd ddydd ei farwolaeth, sef Mehefin, 878, yn 79 mlwydd oed. Clywsom ef pan ar ymweliad â'r wlad hon tua deunaw mlynedd yn ol yn pregethu hen drefn rasol yr efengyl gyda gwres ac eneiniad nefol. Yr oedd golwg urddasol arno yn y pulpud, ac y mae ei ddelw yn amlwg ar y bregeth hon o'i eiddo. Adwaenid ef yr ochr draw i'r Werydd fel y Parch. MORRIS ROBERTS, Remsen.

gwlad eu hun. Darfu i'r Arglwydd ddwyn Israel i wlad Canaan, gwlad yn llifeirio o laeth a mel, ac yr oedd yn rhoddi cyflawnder o drugareddau iddynt, ond medrasant hwy, er y cwbl, fyned mor annuwiol ag eistedd i fwyta, a chodi i fyny i bechu yn ei erbyn; a hwy a ymgymysgasant â'r cenedloedd; ac oblegid hyny yr oedd yr Arglwydd yn tywallt ei farnedigaethau arnynt; ond parhâu i fyw yn annuwiol yr oeddynt, ac am hyny penderfynodd yr Arglwydd eu gadael i fyned i afael eu gelynion, i gael eu caethiwo o'u gwlad i Babilon; a bu yn galed iawn arnynt yno. Yr oedd eu telynau ar yr helyg, a'u gelynion yn gofyn mewn gwawd am iddynt ganu rhai o ganiadau Sïon; a hwythau ar dori eu calonau yn ateb, "Pa fodd y canwn gerdd yr Arglwydd mewn gwlad ddyeithr?" Yr oedd eu caethiwed mor drwm ac yn anobeithiol cael rhyddhâd o hono, fel nad oedd ganddynt ond dywedyd, "Darfu am danom yn dragywydd." Ond yr oedd gan yr Arglwydd ffordd wedi ei threfnu, a llwybr wedi ei ragweled i'w dychwelyd o Babilon i'w gwlad eu hun. Y mae y weledigaeth yn yr ystyr yna wedi ei chyflawni; ond y mae y weledigaeth hefyd yn arwyddo pethau eraill,—sef adfywiad ac adgyfodiad pechaduriaid o feddau eu pechodau, a'u dychweliad drachefn at Dduw, drwy bregethiad yr efengyl, ac arddeliad yr Ysbryd Glân ar y weinidogaeth. Y mae tri pheth i'w dysgu oddiwrth y weledigaeth:—

I. Y MAE YNDDI DDADGUDDIAD EGLUR O'N CYFLWR NI FEL PECHADURIAID; ar lawr, fel esgyrn yn y dyffryn, yn feirwon, yn aml iawn, ac yn sychion iawn.

II. FOD EIN CYFLWR WRTH NATUR YN ANOBEITHIOL ONI DDAW YMWARED O RYW LE ARALL. Y mae hyny i'w weled yn y cwestiwn, "Ha fab dyn, a fydd byw yr esgyrn hyn?" Y mae y prophwyd yn fud yn wyneb y fath gwestiwn, fel pe b'ai yn dywedyd, Na byddant; y maent yn sychion iawn. Ni welaf fi ddim argoel y byddant byw. Wel, dywed ynte

yn eglur na byddant byw. Na, na, ni chymerwn i ddim llawer a dywedyd hyny ychwaith; "Arglwydd, ti a wyddost." Y mae genyt ffordd a gallu i'w bywhâu.

III. Fod gan yr Arglwydd nid yn unig drefn i'n hachub, ond fod ganddo foddion i hyny, sef prophwydo, a phrophwydo tua'r gwynt; hyny yw, pregethu yr efengyl i bechadur, a gweddïo am anadl yr Ysbryd Glân. Dyna ddylem ni wneyd heddyw, ceisio cyhoeddi yr efengyl, a gweddïo am yr anadl.

I. Y mae yn y weledigaeth hon ddadguddiad goleu, eglur, o'n cyflwr fel pechaduriaid; fel esgyrn ar lawr yn y dyffryn, yn aml iawn, ac yn sychion iawn.

Y mae yn dangos ein bod yn feirw mewn camweddau a pechodau. Yr ydym yn feirw ysbrydol, ac yn rhwym i farwolaeth naturiol, ac yn agored i farw yn dragywyddol. Yr ydym yn feirw yn ysbrydol drwy fod yr enaid wedi ymadael â Duw: yr enaid a grëwyd ar ddelw Duw wedi cefnu arno, a cholli ei ddelw; yr enaid fu unwaith ar ddelw Duw, ar ddelw y diafol. Y mae rhywbeth tebyg yn y marw naturiol i'r marw ysbrydol. Nid yw y marw naturiol ddim yn gweled, nac yn clywed, nac yn llefaru, nac yn anadlu, nac yn archwaethu, ac y mae y pryfaid yn ei ysu.

1. *Ni wêl ddim.* Pan y mae yn y perygl mwyaf nid yw yn dychrynu, am nad yw yn gweled y perygl. Y mae llawer yn feirw ysbrydol a'r cleddyf uwch eu pen; pa fodd y maent heb grynu? Am nad ydynt yn ei weled. Lle gwael i gysgu ydyw ar ben yr hwylbren, ond y mae llawer yn cysgu mewn lle gwaelach. Ni wyddant yn y byd pa bryd y byddant yn syrthio i'r tân. Ië, medd rhywun, mae'r bobl yn y noddfa. Nac ydynt; y maent yn y perygl. Paham ynte na waeddent? Heb weled y perygl y maent. Pe baent yn gweled y cwmwl ar ymdori, gwaeddent. Deued y perygl i'r golwg!

2. *Ni chlyw y marw ddim.* Pe b'ai y mellt yn fflamio, a'r taranau mwyaf dychrynllyd yn rhuo, ni bydd dim dychryn arno; nid ydyw yn eu clywed. Dyna fel y mae llawer enaid, er fod y bygythiadau trymaf yn taranu uwch ei ben, a bod y storm ar dori arno, eto medr gysgu yn dawel yn eu twrw.

3. *Nid yw y marw yn ymborthi ychwaith.* Pe rhoddid y wledd oreu o'i flaen, ni phrofai ddim o'i blâs. Felly y mae yn ysbrydol. Pan y mae bwrdd yr efengyl yn llawn, wedi ei hulio gan weision Arglwydd y wledd, y mae llaweroedd yn troi ymaith heb brofi dim o'r arlwyadau. Llefwn am gael ffydd i ymborthi ar wleddoedd llawnion trugaredd.

4. *Nid oes amser gan y marw.* Nid oes dim amser i weddïo gan y marw ysbrydol, ond dichon fod amser i dyngu a rhegu ganddo.

5. *Nid yw yn parotoi dim erbyn y dyfodol.*

6. *Y mae y pryfaid yn ysu y corff marw.* Felly y marw ysbrydol; y mae pryf euogrwydd a llygredd yn ei ysu. Er fe ddichon nad ydyw yn ei deimlo, y mae yno yn ei ysu; ac oni ddaw cyfnewidiad, ä yr enaid yn rhy lygredig a drewedig i gael ei oddef ar y ddaear; ac felly ni bydd dim i'w wneyd iddo ond ei gladdu yn y gladdfa dragywyddol.

Desgrifir ein cyflwr i ni yn y weledigaeth,—

1. *O ran dyfnder y trueni yr ydym wedi myned iddo.* Yr ydym mor ddwfn a drwg ein cyflwr ag oedd yr ysbrydion syrthiedig, ac mor ddrwg ein haeddiant ag yw eneidiau y damnedigion yn uffern. Peth rhyfedd na buasai torf o honynt yma yn ein lle ni, a thorf o honom ninnau yno yn eu lle hwy. Yr ydym wedi myned mor ddwfn, fel os na ddaw braich i'n gwaredu o ryw le arall, fod pob gobaith wedi darfod. Os na ddaw gwawr o rywle uwchlaw i ni, nid oes dim i'w wneyd ond ein gadael yn y dyfnderau, a'n claddu mewn trueni.

2. *O ran nifer yr esgyrn sychion.* Y mae y dyffryn yn llawn o honynt, y maent yn aml iawn. Ai tybed, medd rhywun, fod rhywrai yn gorwedd yn dawel yn y fath gyflwr? y fath gyflwr annuwiol ac enbyd! Y mae'r Ysbryd wedi llwyddo i godi llaweroedd o waelodion y dyffryn, ond aml iawn ydynt er hyny, a byddai yn hawdd codi rhai eto. Ond trwm meddwl! pe byddai gair o enau dyn llygredig yn cyhoeddi seiat ar ddiwedd yr odfa, y ciliai mwy na'ch hanner allan; a dichon y byddai llawer morwyn ffol a gwas anfuddiol yn aros ar ol er hyny.

3. *Y mae'r esgyrn, o ran yr olwg arnynt, yn sychion iawn.* Y maent mor sychion fel nad oes dim o ddelw Duw arnynt.

II. O'N RHAN NI, Y MAE Y CYFLWR HWN YN ANOBEITHIOL. Ond er hyny y mae llwybr wedi ei agoryd gan Dduw i'n codi o'r cyflwr truenus ofnadwy hwn. "Ha fab dyn! a fydd byw yr esgyrn hyn?" Y maent yn lliosog iawn ac yn sychion iawn. Y mae genau y prophwyd yn fud, ond y mae ei ffydd yn gwaeddi, "Arglwydd, ti a wyddost." Ti a wyddost fod bywyd wedi ei fwriadu iddynt; ti a wyddost fod bywyd wedi ei brynu iddynt ar y groes, a bod genyt ddigon o allu a hawl i'w codi yn fyw. Gellir gofyn yn awr uwch ben y dyffryn, "A fydd byw yr esgyrn hyn?" Y mae llawer o odfeuon cynhes, nerthol, ac o ddiwygiadau cynhyrfiol, wedi myned heibio; ond y mae pob peth hyd yma wedi methu eu codi. Wel, gwell i'r prophwyd ddywedyd, Na byddant hwy ddim byw. Na, ni fynai er llawer ddywedyd hyny, ond dywed, "Arglwydd, ti a wyddost." Y mae bywyd wedi ei drefnu ar gyfer rhai o'u bath hwy. Ond ïe; y mae yr haf wedi myned heibio, ac y maent mor galed ag erioed, ac y maent yn myned yn galetach o hyd. Y mae yn haws eu malurio yn llwch na'u plygu na'u toddi. Y mae yn anmhosibl eu plygu. Ydyw, yn anmhosibl i ddynion, ond y mae yn bosibl i Dduw. Y

mae rhyw doddi yn sicr o aros yr annuwiol. Os na chaiff ei doddi yn nydd gras, caiff ei doddi yn y tân tragywyddol. Ond y mae gan ein Duw ni dân yn Sïon, a ffwrn yn Jerusalem. Ac O bechadur! y mae modd dy doddi yno heb dy ddamnio.

III. NID YN UNIG Y MAE GANDDO DREFN, OND Y MAE GANDDO FODDION HEFYD, sef "Prophwyda am yr esgyrn hyn," ac wrth yr esgyrn hyn. Prophwyda tua'r gwynt. Y mae'r hen waith o brophwydo genym ninnau. Nerther ni i lefaru tua'r gwynt.

Yr wyf am sylwi ychydig ar dri pheth:—1. Y weinidogaeth. 2. Y neb oedd i gyhoeddi y weinidogaeth a'r cymhwysder oedd ynddo. 3. A'r llwyddiant fu arni.

1. *Y weinidogaeth.* "Gair yr Arglwydd;" Efe sy'n anfon y prophwyd. Y mae yn ddigalon iawn i waeddi uwch ben yr esgyrn sychion; gwaedda di er hyny. Wel, ti waeddi nes y pydrant. Na, "fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele fi yn dwyn anadl." Wel, ti waeddaist, fab dyn. Do. Gellir dadlu wrth yr Arglwydd, Ti roddaist dy Fab drostynt, ac a roddaist dy efengyl hefyd; a thi a roddaist dy weision i'w chyhoeddi; ond er hyny, y mae pobpeth yn rhy fach heb nerthoedd yr Ysbryd Glân, i'w hennill a'u bywhâu. Y mae yr addewid genym: "Wele fi yn dwyn anadl." Ië, fe fu anadliadau. "Wele fi yn dwyn anadl." Cewch ei gweled eto. Y mae llawer o bethau i'w clywed yn y weinidogaeth.

(1.) Mai y peth cyntaf y mae yr Arglwydd yn ei wneuthur ar bechadur ydyw rhoddi bywyd ac anadl ynddo.

(2.) Y moddion sydd ganddo i roddi yr anadl ynddo yw, trwy ei air; ac y mae y moddion yn effeithiol i hyny. "O'i wir ewyllys yr ennillodd efe nyni, trwy air y gwirionedd." "Y mae yr awr yn dyfod, ac yn awr y mae hi, pan glywo y meirw lef Mab Duw, a'r rhai a glywant

a fyddant byw."Ië, hwy gânt ystormydd a rhwystrau lawer ar eu taith? Cânt, ond er y cwbl, hwy "a fyddant byw." Cânt lawer iawn o dywydd garw; ond byddant byw pan fydd yr holl dywydd garw wedi myned heibio.

(3.) Lle y mae'r anadl wedi dyfod, a'r bywyd wedi dechreu, y maent yn dyfod ynghyd, "asgwrn at ei asgwrn;" ac y maent yn cael eu gwisgo â gïau, ac â chig, ac â chroen; hyny yw, y mae ganddynt grefydd gyflawn. Ië, medd ambell un, y mae genyf fi gystal calon a neb. Pa fath fywyd sydd genyt? Wel, medraf fyw yn ddiweddi fel y mynwyf. Os felly, gelli benderfynu mai yn dy fedd yr ydwyt. Lle y mae y bywyd y mae yno grefydd gyflawn, eglur, brofiadol, ymarferol. Byddai yn well i ti fethu gyda phobpeth na methu am dy grefydd; oblegid os methi am dy grefydd, ti fethi am dy fywyd.

(4.) Peth arall sydd i'w weled yn y weinidogaeth yw, bod rhoddi bywyd i feirw yn fawr ryfeddod; y rhyfeddod fwyaf all fod; rhyfeddod ag y bydd miloedd yn rhyfeddu am dani i dragywyddoldeb. A ydych chwi yn cofio am y wraig weddw hono o Nain? Yr oedd ei mab wedi marw, a'i hunig fab ydoedd, ac yr oedd yn wylo ac yn tori ei chaion ar ei ol; ac yr oedd bagad o bobl wedi cychwyn cludo ei gorff tua'r gladdfa; ond cyfarfu rhywun â hwy ar y ffordd, a gwaeddodd, "Y mab ieuanc, cyfod;" ac er rhyfeddod i bawb oedd yno, cafodd fyned yn fyw adref. Felly yr oeddym ninnau yn cael ein cludo ar elor amser tua'r gladdfa, a duwiolion yn wylo o'n deutu; ond yn lle cael ein claddu, cawsant ein cymdeithas. Ond mwy rhyfedd na hyny oedd yr hanes am Lazarus, yr hwn oedd wedi ei gladdu er ys pedwar diwrnod, ac yr oedd ei gorff yn drewi; ond daeth rhyw Un at ei fedd, a gorchymynodd dynu ymaith y maen. Felly yr ydym ninnau am dynu ymaith y maen heddyw. Gwaedd-

wyd, "Lazarus, cyfod, tyred allan," a daeth yntau allan o'r bedd, a'i draed a'i ddwylaw yn rhwym; a gorchymynwyd ei ollwng yn rhydd i fyw gyda'i deulu. Y mae yma lawer a fuont ddeg neu ugain mlynedd yn eu beddau, ond galwodd yr Iesu hwy i godi, a gwaeddodd, "Gollyngwch hwynt yn rhydd."

(5.) Y dyben mawr o fywhâu yr esgyrn sychion: "Fel y gwybyddont mai myfi yw yr Arglwydd."

2. Sylwn yn nesaf pwy oedd i gyhoeddi y weinidogaeth, a'r cymhwysderau oedd ynddo i hyny. "Ha fab dyn." Mab dyn oedd i'w chyhoeddi. Mae'n dda i ni mai dyn sydd ac nid angel. Pe byddent yn angylion, byddai yn anhawdd i ni ddal yr olwg arnynt. Cymhwysderau y cyhoeddwr,—

(1.) Yr oedd "llaw yr Arglwydd" wedi bod arno; hyny yw, yr oedd tröedigaeth gwirioneddol wedi bod ar ei gyflwr. Y mae eisieu hyny eto, rhaid i ni gael ei law arnom yn barhâus, yn ei orchwyliaethau grasol, onidê gwnawn fwy o ddrwg nag o ddaioni.

(2.) Dylid myned allan yn Ysbryd a nerth yr Arglwydd.

(3.) Yr oedd i fyned uwch ben y dyffryn, i gymeryd golwg ar yr esgyrn sychion: er dangos iddo y cyflwr yr oedd pechaduriaid ynddo, ac er egluro iddo fod gan Dduw drefn i'w codi a'u bywhâu. Dyna a'n cododd ninnau: clywed cyhoeddi fod noddfa ar ein cyfer, pan oeddym ar y pryd heb adnabod y Gwaredwr.

(4.) Rhoddi cenadwri iddo a gorchymyn iddo ei chyhoeddi. Y mae pob un eto sydd o anfoniad Arglwydd gweinidogaeth y cymmod wedi cael eu cenadwri ganddo.

3. Yn nesaf, ystyriwn y cyhoeddiad fu ar y genadwri, a'r llwyddiant rhyfeddol a ddilynodd. Y mae y cyhoeddiad yn ddwy ran, ac y mae y llwyddiant hefyd yn ddwy ran yn gyfatebol i hyny.

1. "Prophwyda am yr esgyrn sychion a dywed wrthynt." Rhaid dywedyd wrthynt am y noddfa, a dywedyd wrthynt hefyd am ffoi i'r noddfa. Yr oeddynt can syched ag y medrai y diafol eu gwneyd, ond aeth y prophwyd er hyny. Felly y mae pechaduriaid eto yn fynych, â'u calonau fel y gareg wedi ymgaledu, nes digaloni y cenadon i ddyweyd eu cenadwri; ond rhaid gwneyd er hyny. A dyna y llwyddiant. Fel yr oeddwn yn prophwydo, "wele bu llef, a sŵn, a'r esgyrn a ddaethant ynghyd, asgwrn at ei asgwrn; a phan edrychais, wele cyfodasai gïau a chig arnynt, a gwisgasai croen am danynt; ond nid oedd anadl ynddynt." Yr oedd sŵn a chynhwrf mawr, ac yr oedd pob asgwrn wedi dyfod i'w le at ei asgwrn, ac yr oeddynt wedi eu gwisgo â gïau, ac â chig, ac â chroen. Byddwn ni yn aml yn cael odfa heb na sŵn na chynhwrf; ond er cael weithiau sŵn nid digon hyny, os bydd y peth penaf ar ol,—heb ddim anadl ynddynt. Y mae hyn yn dysgu i ni yn

(1.) Y gallwn ni eto wrth bregethu gael sŵn a pheth cynhwrf, ond nis medrwn gael bywyd.

(2). Y gallwn ni gael crefydd go lawn oddiallan ac heb gael bywyd. Ni bydd enaid, er pob peth, gyda'i grefydd ond corff marw os na bydd enaid neu fywyd crefydd ynddo. Y mae lle i ofni fod rhai yn yr eglwysi heb anadl bywyd ynddynt. Ni wnant ddim dros grefydd, am nad ystyriant y pwys o hyny. Ni wna corff marw ddim; felly ni wna yr enaid marw ysbrydol ddim er gogoniant Duw. Nid oes dim i'w wneuthur âg ef ond ei gladdu. Y mae Sïon ar dori ei chalon wrth feddwl am ei gladdu o'r golwg, ond nid ydyw yr Arglwydd yn hoffi hyny; y mae ef yn hoffi magu plant byw; am hyny gwaedda, "O anadl, tyred." Llefwn am grefydd â bywyd ynddi.

2. Prophwydo tua'r gwynt. Y mae yn ddigon i dori dy galon, hen brophwyd; er ar ol i ti brophwydo am yr esgyrn

sychion, a phrophwydo iddynt, a bod sŵn a chynhwrf, nad oes dim bywyd ynddynt er y cwbl. Beth wnei di eto? Wel, mi brophwydaf tua'r gwynt; "O anadl, tyred." Gwelwn oddiwrth hyn,

(1.) Nad allwn ni ddim llwyddo heb yr anadl. Er y cyfan ni lwyddwn, os heb yr anadl. Aeth yr hen Sunamees, pan oedd ei mab wedi marw, at y prophwyd, ac anfonodd y prophwyd ei was â'i ffon ei hun, ond er hyny ni ddaeth bywyd heb i'r prophwyd ei hun ddyfod. Nid oedd y gwas a'r ffon yn ddigonol. Rhaid cael yr anadl, onidê marw fyddwn ninnau.

(2.) Ei bod yn ddyledswydd arnom i weddïo am i'r Ysbryd Glân ddyfod. Pa fath yw dylanwad yr Ysbryd pan ddêl? Y mae yn debyg i wynt, neu anadl; a gwyddoch am wynt nerthol nad oes dim a saif o'i flaen. 'Wel,' medd ambell enaid, 'mi sefais i yn hir, ac mi safaf eto.' Wel, gobeithio y daw yr anadl, fel nad elli sefyll. Hefyd y mae y gwynt yn fuddiol i chwalu y niwl a'r cymylau. Yr ydym ni wedi casglu niwl a chymylau o'n deutu; ac y mae yn bryd i ni waeddi am i'r gwynt ddyfod. Rhyfedd mor dda gan y morwr yw cael y gwynt o'i du. Felly, O annuwiol! yr hwn wyt yn morio ar gefnfor y byd, gwaedda am gael y gwynt o'th du; ac os gofynir pa fath odfa a gefaist? gelli ateb, Y gwynt a ddaeth. Dylech weddïo yn yr odfa am gael y gwynt, yna gellwch obeithio cael troi adref dan ganu yn ddiolchgar. Y gwynt a ddaeth, a buont byw.

Ystyriwn,

1. Ein cyflwr truenus, a rhyfeddwn drefn a gras Duw i'n codi o'r fath drueni.

2. Ymofynwn a chwythodd yr anadl arnom ni. 'Wel, ni a welsom lawer o bethau.' Nid dyna y peth yr wyf yn ei ofyn; ond a chwythodd yr anadl arnoch? Os na chwythodd, chwytha tymhestloedd a chorwyntoedd yr Arglwydd i'ch difa yn dragywydd.

3. Dichon fod rhywun am ofyn, Pa fodd y gallaf wybod a chwythodd y gwynt arnaf ai nis gwnaeth?

(1.) Os chwythodd y mae y niwl wedi ei chwalu oddiar dy galon, a gwelaist bethau ynddi na feddyliaist erioed eu bod ynddi

(2.) Fe dy chwythodd at groes Crist.

(3.) Os chwythodd arnat, y mae ei sŵn wedi ei glywed, a'i effaith wedi ei weled. Os na buost yn gwaeddi allan yn yr odfa, buost yn gwaeddi ar dy liniau. Pan yr oedd y gwynt yn chwythu yn ddiweddar, yr oedd sŵn hyfryd i'w glywed; a phan y daw i chwythu eto, clywir ei sŵn, a bydd yn hyfryd iawn. Llefwn am gymhorth i weddïo am yr hen bwerau, ac yna cawn brofiadau hyfryd. Sŵn rhai yn gwaeddi dan argyhoeddiadau, a sŵn eraill yn gorfoleddu am gael prawf o iachawdwriaeth y groes. Llefwn yn ddibaid am i'r anadl ddyfod.

"O na ddeuai 'r hen bwerau
Megys yn y dyddiau gynt,
I chwythu 'n rymus ar y dyffryn,
Fel y clywom sŵn y gwynt."

# PREGETH XXXVIII.

## Y GLYN A'R DYFFRYN.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. DAFYDD CADWALADR.*

*Yn Llanbrynmair yn 1821.*

PSALM xxiii. 4: "Ië, pe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu, nid ofnaf niwed: canys yr wyt ti gyda mi; dy wïalen a'th ffon a'm cysurant."

Y MAE Dafydd yn y Salm hon yn ymgysuro yn ei Dduw. Y mae wedi cael ei gyfarwyddo gan Ysbryd yr Arglwydd i sugno ei gysuron o lygad y ffynnon lle y mae digon i'w gael. Os bydd enaid am sugno ei gysuron o ryw fanau eraill, ca ei siomi, oblegid ffynnonau hespion ydynt. Y mae Dafydd wedi cael modd i ymgysuro yn y digonedd sydd yn ei Dduw. Ystyr y gair Duw, medd ieithwyr dysgedig, ydyw digonolrwydd; ac y mae digonolrwydd ynddo i'w holl greaduriaid ymgysuro ynddo. Nid wyf am helaethu ar y digonolrwydd sydd ynddo i'r creaduriaid direswm. Nid oes yr un bwystfil yn y maes, nac yr un nofiedydd yn y môr, nac yr un ehediad yn yr awyr,

* Gan fod nodiad ynglŷn â'i bregeth yn y gyfrol gyntaf o'r *Gofadail*, afraid yw ychwanegu dim yma. Careg syml iawn sydd ar dalcen bedd yr ysgrythyrwr enwog hwn yn Llanycil, ond pery ei enw yn hir ar aelwydydd crefyddol Cymru yn beraroglaidd iawn; ac y mae naws hyfryd ar y bregeth Fiblaidd hon o'i eiddo. Yr oedd wedi dechreu pregethu cyn bod yr un Ysgol Sabbothol yn y sir, na dim ond dau gapel, sef un y Bala a'r Penrhyn. Yr oedd yn weddïwr mawr, ac yn un o'r rhai mwyaf cyfarwydd yn yr Ysgrythyr yn ei oes; a bu yn gweinidogaethu gyda llwyddiant mawr am tua hanner can' mlynedd.

na'r un pryfyn yn y ddaear, nad yw yn derbyn ei gynnaliaeth a'i holl bethau da gan Dduw. "Agori dy law, a hwy a ddiwellir. A roddech iddynt, a gasglant." Ond nid af i geisio egluro y digonolrwydd sydd ynddo tuag at y rhai hyny, ond am y digonolrwydd sydd ynddo i bechaduriaid fel nyni.

Yn un peth, y mae ynddo ddigonolrwydd o amynedd i gyd-ddwyn â phechadur er cyhyd y mae yn ymgyndynu. Hefyd y mae ynddo ddigonolrwydd o drugaredd i achub y penaf o bechaduriaid; a digonoldeb o ras i buro enaid o'i holl lygredd; a digonolrwydd o allu i noddi y credadyn rhag pob gelyn, deued o'r man y delo—o'th galon dy hun, neu oddiwrth rith broffeswyr, neu o uffern, neu oddiwrth gyfeillion crefyddol. Y mae ynddo ddigonolrwydd o allu i amddiffyn ei bobl oddiwrth eu holl elynion. Yr oedd Dafydd wedi bod mewn cyfyngderau, ac y mae ei Salm flaenorol yn llawn o gwynion, ond y mae yn hon yn ymgysuro yn ei Dduw. Y mae fel pe byddai yn edrych o'i amgylch, yn edrych ar y dde ac ar yr aswy, yn ol ac ymlaen, i fyny ac i lawr, i mewn ac allan. Y mae yn edrych yn gyntaf arno ei hun mewn anialwch gwag erchyll, blin ac ofnadwy; ac eto y mae yn ymgysuro ac yn dywedyd, "Yr Arglwydd yw fy mugail, ni bydd eisieu arnaf." Wedi hyny y mae yn ei weled ei hun yn crwydro, ac yn myned ar ddisperod, wedi colli ei ffordd yn yr anial; ond y mae yn ymgysuro i ddywedyd, "Efe a ddychwel fy enaid.' Wedi hyny y mae yn cymeryd golwg ar ei elynion, ac y mae yn dywedyd, "Ti a arlwyi ford ger fy mron yn ngwydd fy ngwrthwynebwyr." Caf wledda ger eu bron, yn eu gwydd i gyd oll. "Daioni a thrugaredd yn ddiau a'm canlynant holl ddyddiau fy mywyd," sef daioni i'm hadgyweirio a thrugaredd i faddeu fy meïau. "A'm canlynant," meddai. Nid efe oedd i'w canlyn hwy, ond hwy oeddent i'w ganlyn ef, ac i'w ganlyn holl ddyddiau ei fywyd. A

"phe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys yr wyt ti gyda mi; dy wïalen a'th ffon a'm cysurant." Y mae yr Archddiacon Prys wedi canu yn beraidd ac ardderchog iawn ar y Salm hon; ond er mor felus ydyw ei farddoniaeth, y mae wedi cymylu dau air sydd yn fy nhestun. Y mae yn galw glŷn cysgod angeu yn ddyffryn, ac yn galw y wïalen yn nerth. "Dy nerth a'th ffon" a'm cysurant. Y mae yn amlwg mai peth i adnewyddu ac adfywio ac i alluogi i fyned ymlaen ydyw nerth; ond offeryn i glwyfo ac i geryddu ydyw y wïalen. Bob amser y mae son am wïalen yn yr Ysgrythyrau, y mae yn arwyddo cerydd,—megys, "Mi a'i ceryddaf ef â gwïalen." "Ystyriwch y wïalen a phwy a'i hordeiniodd." Gallai fod rhai o honoch yn cofio y geiriau yn Salm cx., "Gwïalen dy nerth a enfyn yr Arglwydd o Sïon." Yr efengyl ddaeth allan o Sïon, ac y mae yn cael ei galw yn wïalen; ac felly, medd rhyw un, rhaid fod cerydd llym yn yr efengyl. Oes, y mae cerydd llym iawn yn yr efengyl. Nid oes yr un wïalen drymach ar bechod na gwïalen yr efengyl. Y mae yn drymach na gwïalen y ddeddf. Mae yn wir fod y ddeddf yn cyhoeddi ei melldithion yn erbyn pechod, ac yn tywallt ei melldithion arno; ond nid yw yn ei ladd; ond y mae gwïalen nerth yr efengyl yn lladd y pechod, ac yn adnewyddu ac achub y pechadur. Wel, medd ambell un, beth am y rhai sydd yn awr â'r llyn o ddigofaint yn berwi drwyddynt? Nid yw hyny yn lladd eu pechod. Y mae eu pechod yno mor gryf ag erioed. Ond y mae'r efengyl yn lladd y pechod. Y mae yr Archddiacon Prys hefyd yn galw glŷn cysgod angeu yn ddyffryn cysgod angeu. Mae yn wir fod son yn yr Ysgrythyrau am ddyffrynoedd, megys dyffryn Sinim, a dyffryn Escol, a dyffryn Hebron, a dyffryn Ajalon, a dyffryn Succoth, a dyffryn Baca, a dyffryn yr halen, a dyffryn Achor; ond bob amser ag y mae son yn yr Ysgrythyrau am ddyffrynoedd, y maent yn arwyddo

rhyw iseldir ëang bras a ffrwythlawn, manteisiol i breswylio ynddo. Am ddyffryn y mynyddoedd, dywedir ei fod yn un mawr ac ëang, ac yn un cyfleus i rai ddianc iddo rhag eu gelynion; a gellir casglu oddiwrth hyny ei fod yn lle manteisiol i breswylio ynddo. Am ddyffryn Sittim, dywed y prophwyd Joel, y byddai i ffynnon o dŷ yr Arglwydd ei ddyfrhâu, yr hyn oedd yn sicrhâu ei ffrwythlondeb. Y mae yn wir fod dyffryn Baca yn sych iawn; ond lle ëang ydoedd, ac yr oedd ffynnonau i'w cael ynddo er adnewyddiad nerth i'r trafaelwyr; ac yr oedd y gwlaw yn llenwi y llynau. Felly mae yn eglur mai wrth ddyffrynoedd yr ydym i ddeall iseldiroedd ëang ffrwythlawn, hyfryd i fyw ynddynt. Ond am y glŷn, rhyw le cyfyng ydyw, rhwng dau fynydd; lle dwfn, llithrig a thywyll, a nant yn ei waelod; a gwelais i rai glynoedd yn Nghymru, ag oeddynt mor ofnadwy fel os meiddiai un edrych dros yr ochr, yr oedd mewn perygl i bendroni neu i benfeddwi, ac yna i dori ei wddf. A lle felly yw glŷn cysgod angeu. Dyna angeu yn ei liw ei hun. Y mae yn cael ei alw gan Joel yn "glŷn terfyniad;" y mae yn cael ei alw hefyd yn "llwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelir." Llawer dyn gwrol, cadarn, cryf, ag oedd yn peri ei arswyd pan ar dir y byw i bawb o'i ddeutu; ond pan ddaeth i farw, ni bu angeu fawr o dro yn gwneuthur terfyn arno. Ië, yr ydwyf yn cofio amser pan yr oedd ar holl deyrnasoedd Ewrop ofn y dyn hwnw, Bonaparte. Dywedir am yr ymherawdwr penaf yn Ewrop, iddo pan oedd yn nghanol ei dywysogion yn Nghaercystenyn, glywed fod Bonaparte wedi tirio yn ei wlad, ac i'r newydd effeithio cymaint arno, nes y cafodd *fit* farw yn ei lys; ond pan aeth y Bonaparte hwnw i wynebu y glŷn, ni bu angeu fawr o dro yn ei lonyddu. Darfyddodd ar unwaith ei holl wrhydri yn y glŷn. Ond, medd Dafydd, "Ië, pe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys yr wyt ti gyda mi."

Darllenaf y geiriau hyn yn gyfeiliornus, i edrych a dŷn hyny eich sylw yn fanylach arnynt. Darllenaf hwy fel hyn: "Iē, pe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys ti fyddi di gyda mi." Nid fe fydd gyda mi yw yr ystyr, ond y mae gyda mi. Cofia, enaid, os nad yw ef gyda thi yn awr wrth fyw, ni bydd gyda thi yn angeu.

"Dy wīalen a'th ffon a'm cysurant." Wrth y wīalen y meddylir angeu ei hun. Dyna y wīalen drymaf a ddaeth erioed ar ein natur. Ond y mae modd i'r wīalen yma fod yn gysur i ni.

Y mae genyf, wrth dewi, ddau gynghor i'w rhoddi i chwi:—

1. Ymofynwch am grefydd â'i llon'd o gymdeithas â Duw. Dyna yr hyn a'ch cynnal ar holl daith eich pererindod.

2. Ymofynwch am grefydd a ddeil yn angeu, a rydd gysur i chwi yn y glŷn; fel y gellwch ganu, "Iē, pe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys yr wyt ti gyda mi.

"Cyfaill yw yn afon angeu,
Ddeil fy mhen uwch law y dòn,
Golwg arno wna i mi ganu
Yn yr afon ddofn hon."

# PREGETH XXXIX.

## ANFONIAD CRIST AC ANFONIAD EI GENADAU.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. HENRY REES, AMWYTHIG.*

*Mewn Cyfarfod yn Llanbrynmair, yn Awst, 1822.*

**IOAN xvii. 18: "Fel yr anfonaist fi i'r byd, felly yr anfonais innau hwythau i'r byd."**

Y MAE y geiriau hyn yn rhan o weddi yr Arglwydd Iesu at ei Dad ar ran ei ddysgyblion. Ychydig cyn eu gadael y mae yn ymroddi i weddïo drostynt. Y mae y weddi hon hefyd yn ddangosiad o natur ei eiriolaeth yn y

* Bu farw y Parch. HENRY REES, Liverpool, Chwefror 18, 1869, yn 72 mlwydd oed, wedi bod yn pregethu am tua 50 mlynedd, a'i ordeinio yn y flwyddyn 1827. Ni raid dywedyd yr edrychid ar Mr. Rees fel arweinydd y Cyfundeb o Fethodistiaid Calfinaidd, yn Nghogledd Cymru yn enwedig; ac fel tywysog y pulpud trwy holl Gymru. Yr oedd yn enedigol o Lansannan, Sir Ddinbych. Gyda ei fod yn dechreu pregethu, pan yr oedd tuag 21 oed, gwelwyd yn ebrwydd gan bawb a'i gwrandawent fod rhywbeth anghyffredin yn ei ddoniau, ac yn yr eneiniad oedd ar ei bregethau; a byddai cyrchu mawr ar ei ol. Yn y flwyddyn 1821 efe a symudodd i'r Amwythig, ac yno y bu byw hyd wyliau y Nadolig 1836, pan yr aeth i drigiannu yn Liverpool, oddiar daer wahoddiad yr eglwysi yno. Am flynyddoedd cyn ei ymadawiad o'r Amwythig, rhoddid ef i bregethu yn mhrif oedfäon y Cymdeithasfäoedd, a chyfrifid ef yn un o dywysogion penaf y pulpud Wedi marw y Parch. John Elias, disgynodd y flaenoriaeth yn Nghymdeithasfa Gogledd Cymru yn naturiol arno ef. Cafodd y blaen, nid am ei fod yn ei chwennych na'i geisio, canys nid oedd neb yn ddwysach ac amlycach ei ostyngeiddrwydd, ond am y gwelai ei holl frodyr nad oedd neb cymhwysach nag ef i fod fel Moses yn arwain y llwythau. Cymhwysderau mwyaf gweinidogaeth yr efengyl a geid ynddo yn helaeth; dirnadaeth dreiddgar o gynghor Duw—craffder adnabyddiaeth o'r natur ddynol, o ogoniant y Gwaredwr, ac o waith Ysbryd y gras—amcan diffuant nid i foddio ei wrandäwyr, ac nid yn unig i'w diwygio,

netoedd. Yr oedd eu hachos ganddo pan yr oedd yma ar y ddaear, ac y mae eu hachos ganddo yn awr yn y nef. Y mae yn hysbysu ei fod yn myned at y Tad, ac yn eu gadael hwythau yn y byd; ac y mae yn gweddïo am i'r Tad eu cadw rhag y drygau sydd yn y byd, a'u sancteiddio yn y gwirionedd. Y mae yn gweddïo yr un modd drostynt yn y nefoedd; ac un o'i amcanion wrth weddïo mor daer ar eu rhan oedd eu calonogi hwythau i nesâu at Dduw mewn gweddi. Un mawr a rhyfedd oedd ef am weddïo tra yma yn y byd, ac yr oedd am iddynt hwythau fod yn gryf a dyfal yn eu gweddïau. Yn ngeiriau ein testun, fel rhan o'i weddi, y mae yn dywedyd ei fod yn eu hanfon i'r byd, fel yr oedd y Tad wedi ei anfon yntau i'r byd: "Fel yr

ond i'w cenedlu yn Nghrist trwy yr efengyl; a chan ddywedyd y pethau yr oedd yn eu credu, a chanmawl yr Hwn yr oedd yn ei garu, byddai yn fynych rywbeth y gellid ei alw yn ffrydlif o hyawdledd sanctaidd yn hynodi ei bregethau, fel nas gallai cnawd sefyll o'i flaen. O ran ei gorff, yr oedd yn dàl a lluniaidd; a byddai tywyniad ei lygaid synwyrfawr megys yn goleuo i galonau ei wrandäwyr. Yr oedd nefoleiddrwydd ei ysbryd yn dodi nefoleiddrwydd ar ei wedd; ac yr oedd ei lais yn dyner ac yn dreiddiol; a phan yr ymsefydlai yn ei oslef effeithiol yn y cywair lleddf, nis gallai un teimlad ei wrthsefyll. Ni bu ei gystudd diweddaf ond byr—*inflammation of the lungs* a'i dŷg ymaith mewn ychydig ddyddiau. Ac yn ol ei ddymuniad mynych, bu farw heb wybod ei fod yn marw. Y newydd am ei farwolaeth a wnaeth argraff ddwys a chyffredinol. Claddwyd ef yn Llantysilio, ger Pont Menai, a chofio yr ydym yn dda fod y tywydd yn dymhestlog iawn a'r cynnulliad y mwyaf a welsom erioed. Gan fod tair cyfrol ardderchog o'i weithiau gan y wlad, nid oes anghen dyweyd dim, ond clywsom ŵr Eglwysig o safle uchel yn dyweyd mai dyma y pethau rhagoraf a ymddangosodd erioed trwy y wasg Gymreig. Y tro cyntaf i ni ei glywed ydoedd ar *Green* y Bala, ar y testun sydd gyntaf yn ei ail Gyfrol—"A pha beth a atebir i genadau y genedl?" &c. Nid anghofiwn tra y byddwn byw ei apeliad effeithiol at ei hen gymydogion o Lansannan oedd o'i flaen. Da genym fod y bregeth ragorol hon o'i eiddo ar gael, ac nas bu yn argraffedig o'r blaen. Nis gallasai fod ond tua thair ar hugain oed yr adeg y traddododd hi, a hyny yn fuan ar ol ei fynediad i'r Amwythig. Clywsom ef ar ganol dydd gwaith yn Engedi, Caernarfon, yn ei hwyliau goreu; ac wrth sylwi ar yr hoel mewn man sicr, dywedai yn dra effeithiol fod digon o le ar yr hoel i hongian mantell yr hen Bab o Rufain. Cymerwyd y rhan fwyaf o'r nodiadau hyn o'r *Dyddiadur* am 1870.

anfonaist fi i'r byd, felly yr anfonais innau hwythau i'r byd." Yn yr adnod o flaen y testun y mae yn dywedyd nad oeddynt o'r byd; ac yna y mae yn dywedyd ei fod yn eu hanfon i'r byd. "O'r byd nid ydynt," meddai, "megys nad wyf finnau o'r byd." "Pe buasech o'r byd," meddai mewn lle arall, "y byd a garai yr eiddo; eithr oblegid nad ydych o'r byd, ac am i mi eich dewis allan o'r byd, am hyny y mae'r byd yn eich casâu chwi." Ond yn ein testun y mae yn son am eu hanfon i'r byd; a'r unig rai sydd yn addas i fyned i'r byd fel cenadau dros Grist yw y rhai a alwyd ganddo allan o'r byd.

Y mae yr Arglwydd Iesu yn cyflawni y ddwy oruchwyliaeth hyn ar ei holl genadon, sef eu galw allan o'r byd, a'u hanfon allan i'r byd. Y mae yn eu galw allan o'r byd, sef o gyflwr y byd, o ffyrdd y byd, o afael pethau y byd, ac o ddull cyffredin y byd o fyw. Y mae yn galw ei holl eiddo, ei holl ddysgyblion allan o'r byd; nid yw yn gadael neb o honynt yn y byd. Y mae'n wir nad ydyw yn danfon pawb o honynt fel cenadau i'r byd, ond y mae yn eu galw oll o'r byd. Yr ydym yn sicr, bawb o honom, o gael gwybod naill ai am ein galw allan o'r byd, neu gael ein damnio gyda'r byd.

Pwnc ein testun ydyw anfoniad yr Arglwydd Iesu i'r byd, a'u galwad hwythau ganddo, a'u hanfoniad allan drosto. "Megys yr anfonaist fi i'r byd, felly yr anfonais innau hwythau i'r byd." Nid yw bod y Tad wedi anfon y Mab i'r byd yn dangos fod y Mab o îs radd na'r Tad, ond ei fod yn Berson gwahanol oddiwrth y Tad, ac iddo gael ei anfon i'r byd, ac iddo ddyfod i'r byd drwy gymeryd y natur ddynol. Nid symud o'r naill fan i'r llall a wnaeth, canys yr oedd yn Dduw, ond efe a gymerodd y natur ddynol ac a ddaeth i'r byd. Ac y mae yn dywedyd yma ei fod yntau wedi anfon ei apostolion i'r byd; ac y mae rhyw gyffelybiaeth rhwng anfoniad Crist gan y Tad ac

anfoniad y cenadau gan Grist, at eu gwaith o bregethu yr efengyl. Ac ar y mater hwn yr wyf yn bwriadu sylwi yn bresennol, gyda gwneyd cymhwysiadau oddiwrtho.

Y mae anfoniad Crist, ac anfoniad ei genadau, yn gyffelyb mewn amryw ystyriaethau:—

I. Cawsant eu hanfon allan at yr un gwaith.

II. Cawsant eu hanfon allan i'r un lle.

III. Yr oedd anfoniad Crist ac anfoniad ei genadau yr un o ran eu gwreiddyn. Yr oedd anfoniad y Mab yn Ddwyfol, ac felly yr oedd anfoniad ei genadau yn Ddwyfol.

I. Anfonwyd Crist a'i genadau at yr un gwaith.

Un o ddybenion yr Arglwydd Iesu yn dyfod i'r byd oedd i bregethu yr efengyl. Er mai nid hyny oedd y cwbl, na'r prif ddyben ychwaith; daeth yma i'r byd i brynu ei eiddo; ond yr oedd pregethu yr efengyl yn rhan o'i amcan. "Rhaid i mi," meddai, "bregethu teyrnas Dduw." Pa beth bynag sydd raid i eraill wneyd, rhaid i mi bregethu teyrnas Dduw, a phregethu teyrnas Dduw i ddinasoedd eraill hefyd. Nid un sefydlog oedd ef, ond yr oedd yn pregethu i ddinasoedd eraill. Yr oedd yn myned o amgylch gan wneuthur daioni; ac yn gyffredin cerdded y byddai ar ei draed—ar ei draed noeth yn ol barn amryw haneswyr. Daeth unwaith "i Nazareth, lle y magesid ef, ac yn ol ei arfer, efe a aeth i'r synagog ar y Sabboth, ac a gyfododd i fyny i ddarllen. A rhoddwyd ato lyfr y prophwyd Esaias; ac wedi iddo agoryd y llyfr, efe a gafodd y lle yr oedd yn ysgrifenedig, Ysbryd yr Arglwydd sydd arnaf fi, o herwydd iddo fy eneinio i; i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachâu y drylliedig o galon, i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb; i bregethu blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd. Ac wedi iddo gau y llyfr, a'i roddi i'r gweinidog, efe a eisteddodd, a llygaid pawb yn y

synagog oedd yn craffu arno. Ac efe a ddechreuodd ddywedyd wrthynt, Heddyw y cyflawnwyd yr ysgrythyr hon yn eich clustiau chwi." Yr oedd yr Arglwydd Iesu mewn modd eglur, yn y geiriau hyn, yn arddel ei swydd, a'i weinidogaeth; ac yr oedd yn egluro i'w wrandäwyr y pethau oedd ganddo i'w pregethu. Y swydd yr eneiniwyd ef iddi oedd i bregethu yr efengyl; a'r rhai yr oedd yn ei phregethu iddynt oedd y tlodion. Rhai tlodion oeddynt mewn ystyr ysbrydol, ac yr oeddynt yn dlodion hefyd o ran eu hamgylchiadau. Ac y mae yr efengyl wedi cartrefu yn rhyfedd o hyny hyd yn awr ymysg y tlodion; "a'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt." Nid oedd ganddynt ond ychydig iawn o'r pethau sydd gan y rhai goludog, ond yr oeddynt yn cael pregethu yr efengyl iddynt. Y mae y son am Geidwad i'r colledig gan y tlodion. Y mae y son am wisg i'r noeth wedi cyrhaedd y tlodion. Y mae son am Feichiau i'r dyledog wedi cyrhaedd y tlodion. Y mae y son am ffynnon i olchi yr aflan yn nghyrhaedd y tlodion. Enaid anwyl, gelli fod yn dawel pa fodd bynag y mae arnat o ran anghenrheidiau y bywyd hwn, y mae y peth penaf genyt. Wel, dichon, meddai ambell un wrtho, os wyt yn pregethu i'r tlodion, yr wyt yn pregethu i rai aflan a gwaelion iawn, i lawer o'r *rebels* gwaethaf: y maent yn cael eu hanfon o'r naill garchar i'r llall, ac i'r tywyllwch eithaf. Na, anfonwyd fi i bregethu gollyngdod i'r rhai sydd yn rhwym, rhyddid i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig eu calon mewn rhydd-deb, ac i bregethu blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd. Anfonwyd Crist a'i apostolion allan at yr un gwaith. Rhan o ddyben anfoniad Iesu Grist i'r byd oedd i bregethu yr efengyl; a holl ddyben anfoniad ei genadau ydyw pregethu yr efengyl. Y mae holl weinidogion yr efengyl, holl genadon Crist, yn pregethu Crist. Y maent i bregethu

Crist ymhob man, a Christ yn bob peth, ac yn bob peth i bawb. Y maent yn

1. I bregethu Crist ymhob man. Pa un bynag ai yn Nghymru ai yn Lloegr, neu ynte mewn rhai o'r gwledydd pellenig y maent, dyna sydd ganddynt i'w bregethu, Crist a hwnw wedi ei groeshoelio. Aeth llawer iawn o'n teyrnas ni i wledydd pellenig y byd, heb iddynt ddim son am Grist wrth y Paganiaid; ond can gynted ag yr aeth ei genadau ef drosodd, aeth y son am Grist i'r manau hyny.

2. Pregethu Crist yn bob peth. Nid rhai tueddol i gymysgu, i roddi llin at lin; ond Crist yn bob peth sydd ganddynt i'w ddysgu a'i bregethu yn iachawdwriaeth pechaduriaid.

3. Pregethu Crist i bawb. "Yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu, gan rybuddio pob dyn a dysgu pob dyn ymob doethineb, fel y cyflwynom bob dyn yn berffaith yn Nghrist." Aroswch, meddai rhywrai, ond gwŷr yr etholedigaeth ydych chwi. Nage, eiddo Duw ydyw yr etholedigaeth; ond gorchymyn Duw sydd genym ni: Pregethu Crist i bawb, er cael cyflwyno pob dyn yn berffaith iddo.

II. Fe'u danfonwyd allan i'r un lle: "Fel yr anfonaist fi i'r byd, felly yr anfonais innau hwythau i'r byd." I'r byd yr anfonwyd Mab Duw, ac i'r byd y mae'r cenadau yn cael eu hanfon. Yn nghyflawnder yr amser y danfonodd Duw ei Fab i'r byd. Nid gwneyd rhyw fyd newydd i'w Fab yn yr uchelderau, yn rhywle uchel o gyrhaedd ein daear ni, ymysg y ser dysgleiriaf, a gosod dynion sanctaidd i fyw yno, ac anfon ei Fab i deyrnasu yno, yn lle ei anfon i lawr i barthau isaf y ddaear. Na, i'n byd ni y daeth, i wyneb y poeredd a phob dirmyg. Anfonwyd ef i'n byd ni, i fyd y llygredd a'r gelynion; ond dywedwyd wrtho, "Llywodraetha di yn nghanol dy elynion." Felly hefyd yr un modd y mae y cenadau wedi cael eu hanfon i'r byd. Y maes yw'r byd.

1. Gan mai y byd ydyw y maes y mae gweinidogion Duw i lafurio ynddo, rhaid i ni feddwl fod gan Dduw waith yn y byd. Beth sydd yn profi hyny? Y mae yn anfon ei weithwyr yno; ac nid oes neb yn codi ac yn anfon gweithwyr ond y rhai sydd ganddynt waith i'w gweithwyr wneuthur; ac y mae y gwaith a'r gweithwyr bob amser gyda'u gilydd. Rhaid i'r gweithiwr fod pa le bynag y bydd y gwaith. Fe allai os ewch i ymofyn am y meistr, mai yn ei *sitting-room* y bydd ef; ond am y gweithwyr, gyda'u gwaith y maent ar y maes. "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i rwyd a fwrid i'r môr." Ni wna y rhwyd ddim gwasanaeth yn y byd heb fyned gyda hi i'r môr. Ac am bobl y rhwydau ânt heibio i bob peth ar eu cyfer i'r môr. Ant heibio i'r gweirgloddiau mwyaf gwelltog, a'r gwinllanoedd llawnaf, yn union i'r môr, oblegid yno y mae y pysgod i'w cael. Felly dyma yr achos fod rhwyd fawr y nef yn cael ei thynu drwy'r byd, am mai yma y mae y pysgod. Y mae y Bywyd wedi dyoddef a marw ar y groes drostynt; ac y mae y nefoedd wedi cael ei boddloni; ac yn awr y mae y rhwyd yn cael ei thynu drwy fôr yr iachawdwriaeth er eu puro o'u llygredigaethau.

2. Gan mai y maes yw y byd, gochelwch gysgu ar y maes. Dyma yr unig fan am eich iachawdwriaeth. Enaid, os ydwyt am adnabod Iesu, heno, cyn myned o'r maes, y mae hyny i'w gael. Os wyt am gael gafael yn yr iachawdwriaeth, cyn myned o'r maes y mae i'w chael, yn awr. Os wyt am gael cyfiawnder a weryd rhag angeu, cyn myned o'r maes y mae i'w gael. Os unwaith yr äi allan o derfyn y maes, ni bydd gobaith i ti am dragywyddoldeb.

3. Gan mai y maes yw'r byd, a dy fod ar y maes, y mae gobaith am danat heddyw. Yr wyt ar y maes. 'Y mae arnaf ofn,' medd rhywun, 'na chaf fi byth grefydd.' Y mae crefydd yn dy ymyl, oblegid yr wyt ar ei maes. 'Y mae arnaf ofn na châf fi byth adnabod Iesu:' y mae gobaith i ti

gael hyny, oblegid yr wyt ar y maes. 'Y mae arnaf ofn na chaf fi byth wybod am rinweddau yr iachawdwriaeth;' y mae gobaith y cei di eu profi, oblegid yr wyt ar y maes. Y maent yn y cyrhaedd yn awr. 'O, bachgen gwyllt annuwiol ydwyf fi,' medd rhywun, 'y mae arnaf ofn na achubir mo honof fi byth;' paid anobeithio tra y byddi ar y maes. Pe buasit wedi llithro i'r môr marw tragywyddol, ni buasai gobaith am danat yno. Nid oes tynu rhwydau yno; ond y mae gobaith am danat tra yn yr un byd â'r rhwydau. Yr wyt o Engedi i Eneglaim, lle y mae y rhwydau. Llefwch am i'w fraich Ef nerthu breichiau y pysgodwyr.

III. Y MAE ANFONIAD CRIST, AC ANFONIAD EI GENADAU, YN GYFFELYB I'W GILYDD O RAN EU GWREIDDYN. Yr oedd anfoniad Crist yn Ddwyfol, ac y mae anfoniad ei genadau yn Ddwyfol.

Pan ddaeth cyflawnder yr amser, anfonodd Duw ei Fab i'r byd. Rhywun yn y byd a'i tynodd ef i'r byd. Nage, ei anfon gan ei Dad a gafodd. Yr oedd anfoniad Dwyfol iddo. Nid ydyw hyn ddim yn arwyddo fod unrhyw anmharodrwydd ynddo i ddyfod; ond y Tad o'i gariad ddarfu ei anfon, ac yntau o'i gariad ddarfu ddyfod. Yr oedd yn cyhoeddi yn amlwg, "Wele fi yn dyfod. Da genyf wneuthur dy ewyllys di, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Ië, cofia fod y gwawd, a'r dirmyg, a'r poeredd, a'r dyoddef angeu o dy flaen. Ond meddai Ef, "Wele fi yn dyfod." Nid allodd dim ei droi yn ol. Dwyfol oedd anfoniad y Gwaredwr, a Dwyfol oedd anfoniad ei genadau. Yr ydym yn cael yn y seithfed bennod o Amos, fod y prophwyd yn cael gwaharddiad i brophwydo yn Bethel, am mai capel y brenin oedd yno. Y mae yntau yn ateb ac yn dywedyd, "Nid prophwyd oeddwn i, na mab i brophwyd oeddwn i, namyn bugail oeddwn i, a chasglydd ffigys gwylltion." Wel, ynte, paham y rhoist i fyny fugeilio a chasglu ffigys? Y mae yntau yn ateb, "Yr Arglwydd

a'm cymerodd oddiar ol y praidd, a'r Arglwydd a ddywedodd wrthyf, Dos, prophwyda di i'm pobl Israel." Buaswn gyda chorlanau y defaid eto oni buasai i'r Arglwydd alw ar fy ol. A dyma y llwybr a'r drefn sydd gan yr Arglwydd eto. O fysg bugeiliaid Tecoa y cododd y prophwyd hwnw, ac nid o fysg y dysgedigion Iuddewig. Y mae gan Dduw law eto i godi ac anfon allan ei genadau.

Crybwyllwn rai GWERSI YMARFEROL.

1. Gan fod cenadau Duw o Ddwyfol anfoniad, dylem wrando ar eu cenadwri. Gan fod y cenadau o anfoniad Crist, dylem wrando arnynt fel cenadon dros Grist. Pan y bydd un o genadau Crist yn pregethu uwch eich penau, dylech wrando arno, fel pe byddai Crist ei hun yn eich anerch. "Y neb sydd yn eich gwrando chwi sydd yn fy ngwrando i." "Yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn erfyn arnoch trwom ni; yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw." Oni byddai rhyw gasglu mawr i edrych pe byddai rhyw ddyn wedi codi ei law yn erbyn y brenin, a bod y brenin wedi hyny yn ei ras yn cyhoeddi diwrnod y byddai ef yn dyfod ar ei liniau ger bron y dyn hwnw i ddeisyf arno am ddyfod i gymmod? Ond dyma beth anfeidrol ryfeddach,—Brenin y nefoedd yn deisyf ar bechadur euog ddyfod i gymmod âg ef.

2. Gwelwn fod yn beryglus iawn i'r cenadau fod yn esgeulus yn eu gwaith. Yr ydym yn darllen yn y drydedd bennod o Ezeciel y geiriau canlynol: "Mab dyn, mi a'th wnaethum yn wyliedydd i dŷ Israel; am hyny gwrando y gair o'm genau; a rhybuddia hwynt oddiwrthyf fi. Pan ddywedwyf wrth y drygionus, Gan farw y byddi farw; oni rybuddi ef, ac oni leferi i rybuddio y drygionus oddiwrth ei ddrygffordd fel y byddo byw; y drygionus hwn a fydd marw yn ei anwiredd; ond ei waed ef a ofynaf ar dy law di. Ond os rhybuddi y drygionus, ac yntau heb droi oddiwrth ei

ddrygioni, na'i ffordd ddrygionus, efe a fydd marw yn ei ddrygioni, ond ti a achubaist dy enaid. Hefyd pan ddychwelo y cyfiawn oddiwrth ei gyfiawnder, a gwneuthur camwedd, efe a fydd marw; am na rybuddiaist ef am ei bechod y bydd efe marw; a'i gyfiawnder yr hwn a wnaeth efe ni chofir; ond ei waed ef a ofynaf ar dy law di. Ond os tydi a rybuddi y cyfiawn rhag pechu o'r cyfiawn, ac na phecho efe; gan fyw y bydd efe byw am ei rybuddio; a thithau a achubaist dy enaid." Beth ydyw yr holl ddyweyd sydd gan y cenadau am ddrwg pechod, ac am y digofaint sydd ar ddyfod? Ni allant beidio dyweyd a rhybuddio heb fod yn euog o waed. Hyderaf fod cenadau Duw wedi cael nerth i fod yn onest a difrifol yn eu rhybuddion; ac os ewch i'r farn yn wrthodwyr o Grist, bydd eich gwaed ar eich penau eich hunain.

3. Gan mai Duw sydd yn anfon ei genadau i bregethu yr efengyl, y mae yn sicr o fod gyda hwy. Fe gyfododd yr Arglwydd Moses i bregethu i ŵr caled iawn, sef i Pharaoh brenin yr Aipht. Y mae yr Arglwydd yn cyfarfod â Moses mewn perth, ac yn dywedyd wrtho fod yn rhaid iddo fyned i bregethu i Pharaoh. O, meddai Moses, pwy ydwyf fi fel yr elwyf i bregethu i Pharaoh? Y mae Pharaoh yn fawr a minnau yn wael; y mae Pharaoh yn galed, a minnau yn safndrwm. "Anfon gyda'r neb yr anfonych," meddai Moses. Wel, meddai yr Arglwydd, "Myfi a fyddaf gyda thi;" ac os byddaf gyda thi mi fynaf fy nghenedl allan o'u caethiwed. Hefyd cododd yr Arglwydd Gideon yn flaenor ar Israel, er mai hen ddyrnwr oedd ef. Dyrnu gwenith yr oedd pan y galwodd Duw ef. Efe a'i galwodd oddiwrth y ffust i wared Israel o law y Midianiaid. Pwy ydwyf fi? meddai Gideon. Wel, meddai Duw wrtho, "Myfi a fyddaf gyda thi:" ac erbyn iddo alw ei fyddin at eu gilydd, yr oedd yno lawer o filoedd; ond tynodd Duw ei fyddin i lawr i dri chant; ac nid oedd ganddynt yr un cleddyf, dim ond

piserau pridd a lampau, i wynebu y gelynion, y rhai oeddynt fel tywod y môr yn aneirif. Ond yr oedd ganddynt ddigon; gallent floeddio, "Cleddyf yr Arglwydd a Gideon." Beth sydd genych yn Sasiwn Machynlleth eleni? "Cleddyf yr Arglwydd a Gideon." Ond cael Duw gyda'r llestri pridd, fe ddaw byddariaid i glywed, a'r deillion i weled, a'r meirw yn fyw drachefn, a'r mudion i ganu.

Terfynaf yn awr drwy roddi testun gweddi i chwi: gweddïwch am genadau y byddo Duw gyda hwy: rhai o ochrau y cloddiau, os bydd Duw gyda hwy. Megys y buost gyda'n tadau, bydd gyda ninnau. Ni chawn ni mo'n tadau eleni gyda ni yn Machynlleth; ond megys y buost gyda'n tadau bydd gyda ninnau. Y maent hwy wedi gadael y maes, ond y mae Arglwydd y maes yn aros. Yr hen fedelwyr sydd wedi myned adref, ac yr oedd yn bryd iddynt gadw noswyl. Rhaid i'r ser fyned dan gwmwl y naill ar ol y llall; ond O Haul, aros! Arosed y gogoniant. Dysgleiried y Shecinah yn y deml. Cael gwên Duw, dyna ddigon i ni wynebu y maes.

"O aros, Haul, aros yn awr,
Aros uwch ben y gwersyll mawr,
Tra paro etifeddion gras
I ymladd ar y gwaedlyd faes."

# PREGETH XL.

## GRWGNACH YN GROES I EWYLLYS DUW.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN PARRY, CAER.*

*Yn Nghymdeithasfa Llanidloes, Ebrill 19, 1822.*

1 THESSALONIAID v. 18: "Ymhob dim diolchwch, canys hyn ŷw ewyllys Duw yn Nghrist Iesu tuag atoch chwi."

YCHYDIG iawn o weddïo sydd yn y wlad, ac yr wyf yn ofni fod llai o ddiolch nag sydd o weddïo. Nid wyf yn cofio yn fy oes lai o ddiolch nag sydd eleni. Yn lle diolch, grwgnach glywir yn awr ymhob man; grwgnach o hyd; fel pe buasai yr Ysgrythyrau yn dyweyd wrthym, 'Ymhob dim grwgnechwch.' Ond nid dyna gynghor y Bibl; eithr "ymhob dim diolchwch." Byddaf yn cofio yn aml am y deg gwahangleifion hyny a ddaethant at yr Iesu i

* Mab ydoedd y Parch. JOHN PARRY i Owen Parry o'r Groeslon, Llandwrog, Sir Gaernarfon. Ganwyd ef yn y fl. 1775, a chafodd addysg dda yn moreu ei oes. Dechreuodd bregethu tua'r fl. 1797, ac wedi bod yn cadw ysgol mewn amryw fanau yn Môn, sefydlodd yn Nghaer, lle y bu o wasanaeth mawr i achos crefydd am 40 mlynedd. Yr oedd yn llenor da. Bu yn golygu yr hen *Oleuad*, y *Drysorfa*, &c. Bu farw y gwas ffyddlawn hwn yn 1846, yn 71 mlwydd oed. Fel y canlyn y dywed y Parch. R. Edwards yn y *Dyddiadur* am dano: "Yr oedd yn ŵr o ysbryd rhydd, diragfarn, a thangnefeddus—o feddwl gwastad, ac o dymher gyfeillgar—yn fanylaidd a threfus yn ei holl arferion, yn ddiargyhoedd yn ei holl ymarweddiad—yn iraidd o ran ei brofiad ysbrydol—yn bregethwr efengylaidd, eglur, blasus, a defnyddiol, ac yn hynod o adeiladol yn y cyfeillachau eglwysig; ac fel hyn yr oedd yn gymeradwy ymysg lliaws ei frodyr." Y mae y bregeth gryno hon yn ddangoseg eglur o hono.

ofyn am iachâd. Yr oedd hir brofiad wedi dysgu y genedl Iuddewig nad oedd yn bosibl iachâu y gwhanglwyf trwy ddim moddion dynol, ond bod yn rhaid cael gallu Dwyfol i iachâu y clefyd hwnw mewn modd gwyrthiol. Felly yr oedd yn rhaid fod gan y deg gwahangleifion hyny feddwl uchel iawn am Grist pan y daethant ato i ymbil am iachâd. Yr oeddynt yn credu ei fod yn fwy na dyn, neu ni buasent byth yn dyfod ato. Daeth y deg gyda'u gilydd i weddïo yr un amser ac am yr un peth, a chan yr un Duw; a gwrandawodd yr Arglwydd Iesu ar y deg, ac atebodd eu gweddïau yn gyflawn ar unwaith; a dyna fel y dygwyddodd yn y diwedd, "Oni lanhäwyd y deg, ond pa le mae y naw? Ni chafwyd a ddychwelodd i roddi y gogoniant i Dduw ond yr estron hwn." Byddaf yn meddwl ei bod yn ein dyddiau ni yn debyg iawn i'r amser hwnw. Bu llawer yn gweddïo yn ystod y cynauaf diweddaf, am gael helaethrwydd a digonedd o ymborth iachus at eu cynnaliaeth; a gwrandäwodd yr Arglwydd, a rhoddodd i ni gyflawnder, ond pa le y mae y diolch? Llawer iawn o weddïo fu am estyn oes Sior y Trydydd, ac am gael brenin arall tebyg iddo yn ei le: y mae hwnw wedi ei roddi, ond pa le y mae y diolch? Y mae yn ddyledswydd bwysig ar weinidogion yr efengyl i sefyll yn erbyn y llif o rwgnach ac o anfoddlonrwydd sydd yn llenwi y wlad. Fel y clywsom yn y bore am lygriad cyffredinol y natur ddynol, dyma un arwydd o hyny, sef yr ysbryd cwyno, a'r geiriau grwgnachlyd sydd drwy'r tir. Y mae yn ddyledswydd arnom i sefyll yn erbyn pob annuwioldeb; a dyma orchymyn i ni sefyll yn erbyn y drwg o rwgnach. "Ymhob dim diolchwch, canys hyn yw ewyllys Duw yn Nghrist Iesu tuag atoch chwi." Y peth mwyaf a wnaeth Duw erioed oedd yr hyn a wnaeth efe yn Nghrist Iesu i ni; ac un o ddybenion mawr yr Arglwydd yn y peth a wnaeth yn Nghrist Iesu oedd cael dynion i ddiolch iddo. "Hyn yw ewyllys Duw yn Nghrist Iesu tuag atoch."

Trefnwyd ffordd yn Nghrist Iesu i ddwyn gelynion i gymmod â Duw; ac i ddwyn dynion anesmwyth, anfoddog a grwgnachlyd i droi a diolch iddo am ei gariad a'i ras. "Ymhob dim diolchwch." Cynhyrfodd yr ysbryd anfoddog a grwgnachlyd hwn yn yr Iwerddon gymaint nes ennyn gwrthryfel yno. Magwyd a meithrinwyd yr ysbryd grwgnach yno yn mynwesau ein cymydogion y Gwyddelod, nes ydynt yn codi arfau yn erbyn y Llywodraeth, ac yn llosgi eiddo ac yn tywallt gwaed; a dyna fel y mae yn parhâu i raddau galarus hyd yn bresennol. O na byddai i weinidogaeth gair Duw farwhâu yr ysbryd grwgnachlyd yma sydd yn ein gwlad, a chreu yn ei le ysbryd boddlonrwydd a diolchgarwch. "Ymhob dim diolchwch."

Ystyriwn yn

I. I BWY Y DYLID DIOLCH?

II. PWY A DDYLAI DDIOLCH?

III. AM BA BETH YR YDYM I DDIOLCH?

IV. PA FODD YR YDYM I DDIOLCH?

I. I BWY Y DYLID DIOLCH? Atebaf hyn mewn dau beth.

1. Dylem ddiolch i'n cyd-ddynion am bob cymwynas a daioni a dderbyniasom ar eu llaw.

2. Yn fwyaf neillduol, ac yn benaf, y mae yn ddyledswydd arnom ddiolch i'r Duw mawr sydd yn fôr difesur a dihyspydd, o'r hwn y mae ein holl gynnaliaeth a'n cysuron yn deilliaw.

1. Dylem ddiolch i'n cyd-ddynion am bob cymwynas a dderbyniasom oddiar eu llaw. Y mae byrdra mawr yn yr hyn a elwir yn "foesau da," sef i ddiolch i'n cydgreaduriaid am bob daioni a chymwynasgarwch a amlygasant. Y mae y grwgnach wedi ymledu fel rhyw bla ymhlith pawb. Prin y clywch gardotyn yn diolch am ei damaid, i'r hwn fyddo yn estyn ymborth iddo. Ac hefyd dyna yn fynych ydyw iaith y tlodion sydd ar y plwyf, 'Nid

oes genym ddim diolch iddynt am ein cynnal; a dylent roddi i ni fwy nag ydym yn gael.' Dyna iaith ac agwedd anaddas iawn. Gwrando, enaid! Yr wyt yn bechadur yn erbyn Duw, ac fel gwrthryfelwr yn erbyn llywodraeth Jehofah yr wyt wedi haeddu cael dy sathru dan draed byth; nid yn unig gan y Jehofah mawr ei hun, ond hefyd gan ei holl greaduriaid, fel nad estyno neb ddyferyn o ddwfr oer i ti byth; a phe byddai dyn yn ystyried hyn yn ei galon, rhyfeddai am fod neb mor gymwynasgar ag estyn tamaid iddo rhag llewygu gan newyn. "Ymhob dim diolchwch."

2. Yn benaf y mae y geiriau yn galw arnom i ddiolch i'r Duw mawr, y ffynnon ddidrai o bob daioni. O foroedd difesur y daioni sydd yn y Duwdod y mae yr holl dda yn dyfod yn afonydd grasol am ben ei holl greaduriaid ymhob man. "Dy drugaredd," medd y Bibl, "sydd ar dy holl weithredoedd." Nid oes yr un creadur yn y nefoedd, nac ar y ddaear, nac yn uffern, ar nas derbyniodd ddaioni oddiwrth Dduw. "Dy drugaredd sydd ar dy holl weithredoedd." A phan y bydd cydgreadur yn estyn tamaid o luniaeth, neu ryw gysur i ti, cofia mai ail law fydd y rhoddwr, a bod Duw y tu cefn i'th gymwynaswr. Od oes ganddo beth i'w roddi, Duw a'i rhoddodd iddo; ac os oes ganddo galon i fod yn hael, Duw a roddodd hono iddo. 'Wel,' medd ambell un, 'os nad wyf yn diolch i ddyn, yr wyf yn diolch i Dduw.' Nid oes fawr o arwydd dy fod yn diolch i Dduw, os nad wyt hefyd yn diolch i ddyn. Y mae yn ddyledswydd arnom i ddiolch i'r Creawdwr am ei holl ddaioni, ac hefyd i'r creadur am ei gymwynasau; ac felly, ymhob dim diolchwch."

II. Pwy a ddylai ddiolch? Atebaf y cwestiwn hwn eto trwy ofyn cwestiwn arall, Pwy na ddylai ddiolch? Nid oes yma neb a gafodd yr un achos ar law Duw erioed i rwgnach, ond y mae yma filoedd o destynau

diolch pe na byddai dim ond a gefaist er pan agoraist dy lygaid bore heddyw. "Ymhob dim diolchwch."

Pwy ddylai ddiolch? Dylai pob dyn ddiolch i'r Arglwydd am ei amynedd a'i diriondeb; ond yn benaf y saint sydd i ddiolch. Y mae rhwymau dwbl ar y rhai hyny i ddiolch iddo; oes, fil miloedd o weithiau yn fwy nag eraill. Y mae llyfr y Salmau yn llawn o ddiolch. Y mae y llyfr yn debyg i daith y Cristion: y mae yn dechre gyda gweddïo yn gymysg â diolch, ond tua'r diwedd y mae yn ddiolch bron i gyd. Felly y mae taith y Cristion drwy'r byd; ychydig o ddiolch yn gymysg â gweddi ar y dechreu, ond yn y diwedd, ar ben draw yr yrfa, hi dry yn ddiolch i gyd. Y peth tebygaf i uffern ar y ddaear ydyw y grwgnach, a'r peth tebygaf i'r nefoedd ar y ddaear ydyw y diolch. Y mae Dafydd unwaith yn galw ar bawb i fendithio yr Arglwydd; ond bob yn dipyn y mae yn tori allan i waeddi, "Sïon, molianna dy Dduw." Genyt ti y mae testun canu a bery yn ei flas wedi i'r ddaear ddarfod.

III. AM BA BETH Y DYLID DIOLCH? Atebwn y cwestiwn hwn hefyd trwy ofyn cwestiwn arall, Am ba beth ni ddylid diolch? 'Yr wyf fi,' medd ambell un, 'wedi cael llawer o wasgfeuon, a thrallodion, a chroesau, a chyfyngderau.' Yr wyf finnau yn credu y dylid ddiolch am danynt. Byddaf bob amser yn teimlo fy rhwymau i fod yn ddiolchgar i'm tad naturiol am fy ngheryddu pan oeddwn yn blentyn. Nis gwn yn y byd i ba le yr aethwn oni buasai y wïalen. "Ni a gawsom dadau ein cnawd i'n ceryddu, ac a'u parchasom hwy; onid mwy o lawer y byddwn ddarostyngedig i Dad yr ysbrydoedd, a byw?" Er nad oes yr un cerydd dros yr amser presennol yn hyfryd, ond yn anhyfryd, eithr wedi hyny y mae yn dwyn heddychol ffrwyth cyfiawnder, ac yn gweithredu tragywyddol les a phwys gogoniant i'r rhai sydd wedi eu cynnefino âg ef. Y mae y wïalen yn llym, ac y mae yn briwo ac yn

archolli, ond wedi hyny y mae'n dwyn heddychol ffrwyth cyfiawnder i'r rhai sydd wedi cynnefino âg ef. Nid cynnefino nes bod yn anystyriol a dideimlad a feddylir, a dyweyd, 'Ni waeth genyf fi ddim am dani.' Y mae perygl yn cael ei gyhoeddi ar y rhai sydd yn cynnefino felly: "Y neb a geryddir yn fynych ac a galeda ei wàr, a ddryllir yn ddisymwth fel na byddo meddyginiaeth." Os nad ystwytha y wialen di, fe rydd Duw y cleddyf ar dy wàr. Beth ynte ydyw cynnefino â'r cerydd? Plygu iddo, a pheidio grwgnach dano. Dyna fel yr oedd Dafydd yn dywedyd,—"Da i mi fy nghystuddio." Yr oeddwn o'r blaen fel dafad yn myned ar gyfeiliorn, yn myned dros y cloddiau ar grwydr i gaeau fy nghymydogion; ond yn awr "cedwais dy air di." "Da i mi fy nghystuddio, oblegid yr oeddwn yn cyfeiliorni." Os goddefwch, ni a awn i hen *Lyfr y Weddi Gyffredin.* Y mae yr hen dadau yno wedi casglu testynau lawer i ni ddiolch am danynt, a geiriau priodol oeddynt. Mewn un man y maent yn debyg i hyn: "Diolch i ti, O Arglwydd, am ein creadigaeth ac am ein cynnaliaeth, ac am holl bethau y bywyd hwn; ac uwchlaw y cwbl am dy anfeidrol gariad yn mhrynedigaeth y byd, trwy ein Harglwydd Iesu Grist; am foddion gras, ac am obaith gogoniant."

"Ymhob dim diolchwch." Nid ydym yn uffern, am hyny diolchwn. Pwy ofalodd am danat drwy wyliadwriaethau y nos? Pwy adferodd dy iechyd? Pwy gadwodd dy synwyrau? Y mae genym destynau diolch ymhob man; ond rhyfedd y grwgnach sydd ymhob man. Y meistri tir yn grwgnach eu bod yn methu cael eu rhenti; y rhai sydd danynt yn grwgnach fod y tir yn rhy ddrud. Y gweithwyr yn grwgnach eu bod yn methu cael gwaith, na thâl am eu gwaith. Y mae'n drwm fod dyn fel y mochyn. Nid oes dim yn llais hwnw ond grwgnach, ac nid wyf yn meddwl y porthai neb y mochyn oni b'ai y gobaith o gael

rhywbeth am hyny. Ond y mae'n drymach fod llais grwgnach gan ddyn, tra y mae Duw yn ei borthi yn barhâus.

IV. PA FODD Y MAE CYFLAWNI Y DDYLEDSWYDD HON? Yn enw Crist Iesu. "Gan ddiolch yn wastad i Dduw a'r Tad am bob peth, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist. Trwyddo ef, gan hyny, offrymwn aberth moliant yn wastadol i Dduw." Ymroddwch yn erbyn yr ysbryd grwgnachlyd, gan ymdrechu bod yn ddiolchgar am yr holl ddaioni ydych yn gael yn barhâus. 'Pa fodd,' medd ambell un, 'na b'ai hi yn awr fel y bu yn yr amser a aeth heibio, a phrisiau uchel ar bob peth?' Ië, a wyddost ti beth oedd yr achos? Tywallt gwaed dy gydgreaduriaid. Llawer o weddïo fu am heddwch, a dyma heddwch a'i effeithiau daionus wedi ei gael; ond pa le mae y diolch? Ychydig iawn o ddiolch sydd yn y byd. Yr oedd yr Apostol Paul wrth fyned i fwyta, yn diolch yn eu gŵydd hwynt oll; ac felly hefyd yr Arglwydd Iesu. Cofiwch gydnabod yr Arglwydd yn ddiolchgar am eich holl gysuron a'ch breintiau.

"O cenwch fawl i Dduw ein nerth,
Cerdd brydferth cenwch iddo;
A llafar lais, â genau ffraeth,
Gerddoriaeth i Dduw Iago."

# PREGETH XLI.

## ENNILL BYD A CHOLLI ENAID.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. DANIEL EVANS, CAPEL Y DRINDOD.*

*Yn Llanbrynmair, Hydref 1822.*

MATTHEW xvi. 26: "Canys pa lesâd i ddyn os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu, pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?"

LLEFARWYD y geiriau hyn gan yr Arglwydd Iesu ei hun, mewn atebiad i sylw a wnaeth Pedr. Yr oedd Pedr yn ceryddu yr Iesu, a'r achos o hyny oedd i'r Iesu ddywedyd fod yn rhaid iddo fyned i Jerusalem, a dyoddef llawer oddiwrth yr henuriaid a'r archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion; ac y byddai iddo gael ei ladd; ond yr adgyfodai y trydydd dydd. Nesäodd Pedr ato, a decheuodd ei feïo gan ddywedyd, "Trugarhâ wrthyt dy hun, ni fydd hyny i ti." Nis gallai y dysgyblion oddef iddo ddywedyd y byddai raid iddo farw. Yr achos o hyny oedd eu hanwybodaeth

* Y mae enw y Parch. DANIEL EVANS, Capel y Drindod, Sir Aberteifi, yn hysbys iawn trwy Dde a Gogledd fel pregethwr cymeradwy ac effeithiol. Yn y lle uchod y dechreuodd bregethu yn y flwyddyn 1808, a chafodd ei neillduo i'r holl waith yn 1826. Teithiodd lawer trwy y Dywysogaeth am 38 o flynyddau, a bu farw yn y flwyddyn 1847, yn 71 mlwydd oed. Yr oedd, tybygem, yn daid i'r Parch. Evan Phillips, Castellnewydd Emlyn. Gwelsom ef yn cael rhai odfeuon grymus iawn yn ei ymweliadau blynyddol â'r Gogledd; ac y mae y bregeth gyflawn ganlynol yn ddarlun cywir o hono. Er fod y testun yn adnabyddus iawn y mae y bregeth yn afaelgar a miniog, a llawer o'r tân a fyddai yn y traddodiad yn aros eto ynddi.

o'r drefn yr oeddid i waredu pechaduriaid. Yr oedd ganddynt ffydd gref mai trwy yr Arglwydd Iesu yr oeddynt i gael eu gwaredu, ond nid oeddynt yn deall y llwybr. Dysgwyl yr oeddynt hwy y byddai iddo esgyn i ryw orsedd uchel ddaearol; ond yr oedd ef yn dangos mai yn ol trefn Duw y byddai iddo weithredu; a'u bod hwy, drwy eu dychymygion, yn camddeall y drefn. Y mae geiriau Pedr yn eglur ddangos fod ganddynt feddwl uwch am dano nag am neb arall. Nid allasai dim geiriau ei ddyrchafu yn uwch na geiriau Pedr. Yr oeddynt yr un peth a dywedyd, 'Paid a chymeryd hyny ganddynt; nid oes neb yn y nefoedd nac ar y ddaear a all wneuthur hyny i ti; am hyny paid a chymeryd hyny ganddynt: "ni bydd hyny i ti."' Y mae Iesu yn wyneb hyny yn troi at Pedr ac yn dywedyd, "Dos yn fy ol i, Satan, canys rhwystr ydwyt i mi; am nad ydwyt yn synied y pethau sydd o Dduw, ond y pethau sydd o ddynion." Ystyr y gair Satan yn y cysylltiad yma ydyw "gwrthwynebwr." Dos yn fy ol i, y gwrthwynebwr. Yr oedd ymddygiad Pedr y pryd hyny yn ei wneyd yn wrthwynebwr; ac felly yr oedd yr Iesu yn dyweyd, "Dos yn fy ol i," nid ymlaen fel yna; ac y mae yn dangos paham yr oedd felly, sef am nad oedd "yn synied y pethau sydd o Dduw, ond y pethau sydd o ddynion." Y pethau o Dduw ydyw trefn Duw i achub, a'r pethau o ddynion oeddynt dychymygion y dysgybion; a'r achos o hyny oedd eu tywyllwch am drefn yr iachawdwriaeth. Nid o elyniaeth yn Pedr, ond o'i dywyllwch, y daeth y geiriau. Ac fel pe buasai Iesu yn dyweyd, Tra y byddych di yn dy dywyllwch yn dyweyd y pethau yna, byddi yn rhwystr i mi. Yna y mae yn dyweyd wrth ei ddysgyblion, "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun, a choded ei groes beunydd a dilyned fi." Y mae yn troi eu hystyriaeth oddiwrth ei fater ef at eu mater hwy eu hunain. Fel pe buasai yn dywedyd, 'Yr ydych yn methu dyoddef i mi sôn am

ddyoddef a marw; ond os ydych am fy nghanlyn i, fe ddaw y dyoddef a'r marw i'ch rhan chwithau; ac yn lle astudio a sôn pa fodd y mae i mi beidio dyoddef, meddyliwch am barotoi i ddyoddef eich hunain. Dyna fu rhan llaweroedd o ganlynwyr Iesu; gorfod gwynebu yr arteithglwydau a'r fflangellau, a'r ystanciau a'r fflamau tân. Daeth marw i'w cyfarfod hwy ar eu ffordd wrth ddilyn Iesu. Wedi hyny y mae yn dywedyd wrthynt, "Pwy bynag a ewyllysio gadw ei fywyd a'i cyll, a phwy bynag a gollo ei fywyd o'm plegid i a'i caiff." Y dyn sy'n ymwneyd am gadw ei einioes ei hun a'i cyll; ac arall am gysegru ei fywyd yn ei gael. Os collir bywyd yn achos Mab Duw, byddys yn sicr o'i gael. Y mae amgylchiadau yn bod gydag achos Iesu yn gofyn y bywyd. Os bydd i neb werthu ei grefydd er mwyn ei fywyd, cyll ei fywyd; ond y mae eraill yn barod i'w chyfarfod fel y daw, ac yn penderfynu ei ddilyn er gorfod marw wrth hyny, ac y maent drwy hyny yn cael bywyd. Bu erlidigaethau chwerwon am broffesu crefydd Mab Duw, ac yn yr amserau enbyd hyny fe fyddai rhai yn ceisio ymlynu wrth ei achos; ond pan ddeuai marw i'r golwg yr oedd llaweroedd yn cefnu, ac yn troi yn ol, ac felly yr oeddynt wrth hyny yn colli bywyd gwell; yr oeddynt yn cadw y bywyd naturiol, ond yn colli y bywyd ysbrydol a thragywyddol; yn cadw bywyd y corff, ond yn colli bywyd yr enaid. Yn wyneb yr erlidigaethau hyny, collodd rhai eu bywyd naturiol, ond cawsant eu bywyd tragywyddol.

Yna y mae Iesu yn dyweyd y geiriau, "Pa lesâd i ddyn os ennill efe yr holl fyd a cholli ei enaid ei hun?" Y mae ei fryd ar ennill yr holl fyd, ac ennill ei fywyd drwy hyny. Ond ennilled ef y peth a fyno, ïe, pe b'ai yn ennill yr holl fyd, y mae ei enaid ar y ffordd i fyned ar goll, ac yna pa ennill fydd iddo? Bydd eu colled yn fwy na dim ennill. Nid oes dim yn erbyn i ddynion geisio ennill tipyn o'r byd, os byddant am ei ennill yn ffordd diwydrwydd a gwirion-

edd; ond os rhydd rhyw un gam croes i'r gwirionedd er ennill y byd, achosa y cam hwnw iddo golli ei enaid. Aiff i dir lle y bydd ei enaid yn rhwym o gael ei golli. Ni wiw iddo byth ymffrostio yn y fath ennill. Os cyll ei enaid, pa les iddo son am ei ennill? Byddai yn dda i ni ystyried pa ffordd yr ydym yn cael y pethau ydym yn gael, rhag ein bod yn myned i dir colli enaid wrth eu cael. "Pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?" Fel pe dywedasai yr Iesu, Fe ddaw amser pan y bydd yn dda genych gael yr enaid yn ol ar ol ei golli; am hyny byddai yn dda i chwi ystyried beth sydd genych i'w roddi yn gyfnewid am ei gael yn ol? Am hyny gweddai fod difrifoldeb ynom wrth feddwl am hyn. "Canys pa lesâd i ddyn os ennill efe yr holl fyd a cholli ei enaid ei hun? neu, pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?"

Meddyliwn yn

I. Am yr enaid.

II. Am ei sefyllfa.

III. Y fasnach ryfedd y mae dynion yn ei gwneyd: Rhoi yr enaid er ennill y byd.

IV. Yr anmhosiblrwydd i ddyn gael dim gwerth ei roddi yn gyfnewid am yr enaid.

I. Yr enaid. Y mae genym *ni* eneidiau. Nid cnawd ac esgyrn ydym i gyd oll, ond y mae genym eneidiau. Y mae llawer yn treulio eu dyddiau heb feddwl dim am yr enaid. Y mae llawer un mor ddiamgyffred am ei enaid a phe byddai yn bagan; byddai yn dda coffa i'r dyn hwnw fod ganddo enaid. Y mae yr enaid yn werthfawrocach na'r corff. Byddai Dr. Watts yn arfer dyweyd, "Yr enaid yw'r dyn." Y mae yn wir fod y corff yn rhan o ddyn, ond os cymherir corff âg enaid, y mae yr enaid mor ardderchog fel y mae y corff yn dyfod yn ddistadl a diwerth. Eto y mae llaweroedd heb ystyried hyn, heb ystyried fod ganddynt enaid anfarwol. Y mae yr enaid yn sylwedd ys-

brydol, wedi disgyn oddiwrth Dad yr ysbrydoedd; ac y mae yn abl i ymwneyd âg ysbryd, sef â Duw; a phan y bydd y corff wedi marw, bydd yr enaid yn myned at Dduw, i gartrefu yn myd yr ysbrydion. Ni wyddom ddim eto beth ydyw byw yn myd anweledig ysbrydion, ond ni a gawn wybod. Y mae yr enaid yn alluog i ddal cymdeithas â Duw. Crëwyd dyn ar ddelw Duw; ar ei lun a'i ddelw ei hun y crëodd efe ddyn i fyw er ei ogoniant, ac i ymddigrifo yn ei gymdeithas. Rhoddodd Duw allu iddo gymdeithasu âg ef. Gyfaill, y mae genyt enaid all ddal cymundeb â Duw. Y mae o fewn dy gorff, yn y daearol dŷ, ran ag sydd yn gymhwys o ran gallu i ddal cymdeithas â'r byd ysbrydol ac â Duw; ac nid oes ond ychydig amser nes y bydd Duw yn dy alw i'w ŵydd. Crëodd Duw ddyn i'w ogoniant ei hun, ac ar fyrder fe fyn ei alw o'i flaen, er cael gwybod pa fodd yr atebodd ddyben ei greadigaeth. Gan ei bod mor bwysfawr i gael ei gymmod a'i gymdeithas, gweddïwch am gael rhywun i ddadlu eich dadl ger bron ei orsedd, ac am gael y cyflwr yn ddiangol cyn myned yno. Y mae enaid dyn yn anfarwol. Y mae dyn i farw, hyny yw, y mae ei gorff i farw, ond nid yw'r enaid i farw na chael ei ddifodi. Ysgar y corff a'r enaid oddiwrth eu gilydd y mae angeu. Ni wnaed yr enaid o elfenau daearol; o ganlyniad nid all yr elfenau hyny effeithio arno. Crëodd Duw gorff dyn o bridd y ddaear, ond fe luniodd yr enaid yn ysbryd fel angel. Y mae yn anfarwol fel Duw ei hun. Nid wyf yn dywedyd nad all Duw ddifodi pob peth a wnaeth, ond y mae enaid dyn yn anfarwol mewn dau olygiad: Yn gyntaf, am nad all neb yn y nefoedd nac ar y ddaear ond Duw ei hun ei ddifodi; ac yn ail, am fod Duw wedi trefnu a chyhoeddi iddo fod yn anfarwol. Gan ei fod yn anfarwol, y mae yn dragywyddol o ran ei barhâd; a chan ei fod yn anfarwol, y mae yn rhwym o fod mewn gwynfyd diddarfod neu wae tragywyddol. Os na

bydd eneidiau y duwiolion yn anfarwol, bydd y pethau gwerthfawr a drefnodd Duw iddynt yn myned yn ofer; ac os na bydd eneidiau y colledigion yn anfarwol, neu yn dragywyddol, o ran eu parhâd, fe fydd y digofaint yn dyferu i'r gerwyn, pan na bydd neb yno i ymborthi arno. Ond nid felly y bydd. Caiff y duwiolion fyw byth i fwynhâu eu gwledd, a chaiff y damnedigion fyw byth i yfed o'r digofaint. Ymdrechwn gan hyny i droi o ffordd y digofaint cyn iddo gael ei dywallt.

II. Y CYFLWR NEU Y SEFYLLFA Y MAE'R ENAID YNDDO: Wedi myned ar goll. Y mae llawer yn bod heb feddwl nac ystyried fod eu henaid wedi myned ar goll. Y mae wedi myned ar goll o ffafr Duw, ac o ddelw Duw, ac o'r mwynhâd o Dduw. Y mae wedi myned i'r tiroedd a reibiwyd ac a gondemniwyd. Y mae tan y ddedfryd, "Gan farw y byddi farw;" ac y mae y condemniad yn aros arno yr awr hon, os na symudodd Mab Duw ef drwy iddo gredu ynddo, a chael newid ei gyflwr. Dyna ydyw ein cyflwr wrth natur, wedi ein colli yn rhanol; ac os nad ymafael y Gwaredwr ynom ar frys, byddwn wedi cael ein colli yn gyflawn. Pan y mae troseddwr dan ddedfryd marwolaeth, y mae y ddedfryd mewn grym, ond bod adeg ei chyflawniad heb ddyfod. Y mae modd ein cael yn rhydd yn awr. Yr ydym ni wedi myned dan y ddedfryd, ond os cawn waeddi am gymhorth y Gwaredwr, cawn ddyfod yn rhydd. Yr ydym wedi ein condemnio, ond heb ein dienyddio; ac y mae y Ceidwad ar ei orsedd rasol; ac os gwynebwn ato yn daer a gwylaidd, achubir ein henaid.

III. Y FASNACH RYFEDD SYDD GAN DDYNION,—sef ennill y byd a cholli yr enaid. Yn wyneb gwanc y galon yr oedd Iesu yn dywedyd y geiriau, fod dynion yn foddlawn i werthu yr enaid, neu i golli yr enaid, er mwyn ennill y byd. Nid yw yn bosibl i neb byth ennill yr holl

fyd; ond y mae gwanc y galon gymaint, fel y mae am ennill yr holl fyd pe gallai; ac y mae yr Iesu yn ardystio yn erbyn y fath wanc. Wrth y byd yn y cysylltiad yma, gallwn ddeall y byd, y cnawd, a'r diafol. Y byd yn ei anrhydedd a'i gyfoeth, chwant y cnawd yn hudo dyn i droseddu deddfau Duw, a'r diafol am gael cefnogiad dyn yn ei gynddaredd yn erbyn Duw. Y byd, y byd, y byd a'i bethau, y mae llawer mor awyddus i'w ennill, fel y maent am werthu yr enaid er ei gael. *Bargain* ddrud ofnadwy! Y mae llawer yn ymawyddu am bethau nas mynent er dim i'w hawydd ddyfod i'r golwg, ond pan elont i'r farn daw y cyfan i'r golwg. Hefyd am foddhâu nwyfiant a difyrwch y cnawd; ond yr ydys drwy hyn yn rhoddi mwy nag ydys yn gael. Byddai yn dda i ni ystyried hyny. A all difyrwch chwantau y cnawd am enyd yn y byd fod yn ddigon o iawn am golli enaid, a'i adael dan lid Duw am dragywyddoldeb? Pa beth ydyw pleser mynyd awr am fod dan ddigofaint Duw byth bythoedd!

IV. Fod yn anmhosibl i ddyn ddyfod o hyd i ddim yn y byd sydd yn ddigon o dal am yr enaid. Nid oes neb na ddaw hi yn orchest a gwasgfa arno am gael yr enaid yn ol. Ond dyna y pwnc, pa beth sydd i'w gael i'w roddi yn gyfnewid am dano? Gobeithio y daw hyn i wasgu yn ddwys ar ein calon cyn yr elo yr adeg heibio. Y mae yr enaid yn awr yn y ddalfa. Y mae wedi myned i fagl, wedi myned i garchar y ddeddf fel troseddwr. Dichon y gofyna rhywun, Beth sydd raid ei roddi i'r diafol er cael dyfod yn rhydd o'i fagl? Ofer i ti feddwl am roddi gwobr i'r diafol, oblegid ni chaiff ef ddim amser i'w mwynhâu. Y mae ef yn y gadwyn. Nid rhoddi gwobr i ddiafol sydd eisieu, ond ceisio grym i'w orchfygu. Y mae digon o rym i ti ei gael er dryllio pyrth uffern. Rhaid i ti ei orchfygu, neu fod yn gaeth iddo byth. Beth raid roddi i'r ddeddf? Purdeb natur, uniondeb bywyd,

ynghyd a rhinwedd yr Iawn am y beïau. Y mae y ddeddf yn gofyn mwy i ni nag oedd yn ofyn i Adda cyn iddo bechu. Yr oedd yn gofyn purdeb natur ac ufudd-dod i Adda, ac yr oedd ganddo ef fodd i roddi hyny. Nid oedd yn gofyn iawn iddo am ddim oedd wedi pasio; ond y mae yn gofyn hyny genym ni. "Pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?" Paham na wnai pethau y byd, mwynderau y byd, y tro?

1. Y mae y pethau hyny yn rhy wael i wneyd y golled i fyny.

2. Y mae yr amser yn rhy fyr i'w mwynhâu. Nid yw pethau goreu y byd ond gwagedd. Nid allant byth ddigoni yr enaid. Colled ofnadwy ydyw colli enaid. Nid ei ddifodi olygir wrth ei golli. Pe cyhoeddai Duw ei fod yn myned i ddifodi eneidiau, teimlid llawenydd drwy uffern; ond marw heb farw fydd yno.

Y cwestiwn yw, "Pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?" Y mae modd yn awr ei gael yn rhydd. Bu rhai yn foddlawn i roddi miloedd o feheryn a myrdd o ffrydiau olew; ïe, bu rhai yn foddlawn i roddi ffrwyth y groth. Ond ni wnai hyny mo'r tro; ond y mae modd ei ryddhâu drwy aberth y groes. Y mae gair o enau yr Iesu yn ddigon i drechu uffern; ac ond cael ei air ef, gwna y ddeddf hefyd dy ollwng yn rhydd, a bydd o blaid dy fywyd; canys y mae Iawn Calfaria wrth ei bodd.

# PREGETH XLII.

## DUW YR AMYNEDD A'R DYDDANWCH.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. RICHARD LLOYD, BEAUMARIS.*

*Yn Nghymdeithasfa y Bala, Mehefin 11—13, 1822.*

RHUFEINIAID xv. 5: "A Duw yr amynedd a'r dyddanwch a roddo i chwi synied yr un peth tuag at eich gilydd, yn ol Crist Iesu."

Y MAE yr apostol yn nechreu y bennod hon yn rhoddi cynghor a chyfarwyddyd i'r eglwysi, ac yn enwedig yr eglwys oedd yn Rhufain, pa fodd i gyd-ddwyn â'u gilydd mewn cariad; ac y mae yn dangos fod yn rhaid iddynt cyn gallu gweithredu felly, arfer amynedd y naill tuag at y llall; ac y mae ein testun yn cynnwys gweddi ag y mae yr apostol

* Ymddengys mai yn Ngwalchmai y dechreuodd MR. LLOYD ei yrfa grefyddol. Yr oedd yn ŵyr i'r clodwiw William Pritchard, Clochdyrnog. Bu ei dad farw pan nad ydoedd ond ieuanc. Ystyrid ef yn ŵr ieuanc hardd a rhinweddol, prydferth iawn o wedd, a chlyd ei amgylchiadau. Cafodd hefyd fwy o fanteision addysg na'i gydlafurwyr yn y pulpud. Yn Beaumaris y treuliodd y rhan fwyaf o'i oes, a bu yn nodded cryf i'r achos yno. Dywed ei hen gymydog, y Parch. O. Jones, Llandudno, am dano fod ei bregethau yn wastad yn sylweddol, trefnus, a choeth, a byddai yn cael rhai odfeuon grymus a dylanwadol. Sonir llawer gan yr hen bobl am bregeth a draddododd tua 52 o flynyddoedd yn ol yn Nghymdeithasfa yr Wyddgrug, ar y geiriau, "A'r Sabbath oedd y diwrnod hwnw." Darluniai ynddi yn ddoniol y gwaredigion yn cymdeithasu â'u gilydd yn y wlad well, gan adrodd wrth eu gilydd yr ymweliadau grasol a gawsant ar daith yr anialwch, a phob tro yn terfynu gan ddyweyd, "A'r Sabbath oedd y diwrnod hwnw." Bu farw yn 1834, wedi bod yn pregethu am tua 40 mlynedd, a gorwedda ei lwch cysegredig yn Llanfaes, wrth ochr llwch ei hen gyfaill enwog y Parch. John Elias.

yn anfon at Dduw yn eu hachos, ac ar eu rhan. "A Duw yr amynedd a'r dyddanwch a roddo i chwi synied yr un peth tuag at eich gilydd, yn ol Crist Iesu." Bendith werthfawr iawn i gynnulleidfa neu eglwys yw cael y fraint o synied yr un peth, os bydd y peth hwnw yn sylfaenedig ar y gwirionedd.

Y mae yr apostol yn nechre ei weddi yn rhoddi cyfarchiad darluniadol nodedig o wrthddrych ei weddi. Y mae yn galw y Duw mawr tragywyddol yn "Dduw yr amynedd." Nid oes ond un lle yn yr holl Fibl, heblaw y fan yma, yn galw Duw yn Dduw yr amynedd; ond y mae yn addas i ni sylwi a chofio mai o herwydd amynedd Duw yr ydym ni i'n gweled ar y *stage* yma heddyw. Pe na buasai Duw yn Dduw yr amynedd, ni buasem ni ddim i'n gweled yma yn awr. Gan hyny mi a amcanaf ddyweyd ychydig am yr amynedd sydd yn Nuw, ag sydd hefyd yn cael ei ddangos mewn modd rhyfedd tuag atom ni. Gallwn ni ddywedyd hyn yn anad neb fu byw erioed yn y byd; sef mai "Duw yr amynedd" ydyw ein Duw ni. Y mae daioni Duw i'w weled yn eglur yn ei ymddygiad at bob creadur. Nid oes yr un creadur ar y ddaear, yn rhesymol nac yn afresymol, nad ydyw daioni Duw yn annhraethol fawr tuag ato; ond nid oes amynedd yn cael ei arfer gan Dduw ond tuag at greaduriaid euog. Dyma ar y maes yma heddyw dorf fawr o rai euog. Nid oes yma neb heb fod yn euog; am hyny yr ydym ni oll yn cael mwynhâu o'r daioni diddiwedd sydd yn amynedd Duw. Ychydig iawn ydym yn ei ystyried ac yn ei ddiolch am amynedd Duw. Ped edrychem ni yn iawn ar y peth gwerthfawr a daionus hwn sydd yn cael ei ddangos gan Dduw tuag atom, nid allem dewi na dydd na nos heb ei foliannu. Diolch, diolch byth i'w fawredd, am ei hir amynedd tuag atom. Ni byddai dim ffrwyth ar ein meusydd, nac yn ein dyffrynoedd, nac ar ein mynyddoedd,

oni b'ai amynedd Duw. Ni byddai dim cysur i'w gael i mewn nac allan oni b'ai amynedd Duw. Ni byddai dim cysur i gael ei fwynhâu yn bersonol nac yn deuluaidd, yn wladol nac yn eglwysig, oni b'ai amynedd Duw. O hir amynedd Duw y mae pob da ydym yn fwynhâu yn dyfod. Y mae ei amynedd wedi cael ei sylfaenu ar waed y groes. Dyna lle y mae Duw wedi cael lle i fod yn amyneddgar tuag at bechaduriaid.

Yn awr, ni a sylwn AR Y DAIONI RHYFEDD YMA SYDD YN NUW, SEF AMYNEDD. Y mae yr apostol yn dywedyd fod Duw yn hirymarhous; a dywedir yn fynych ei fod yn hwyrfrydig i ddigofaint. Crybwyllwn rai pethau sydd yn dangos ei hir-amynedd :—

1. Arfer Duw ydyw *oedi* tywallt ei farn pan y mae yn cosbi dynion am eu pechodau. Yn ei ffordd gyffredin o dywallt ei farn y mae yn oedi ac yn symud yn araf iawn. Paham felly? Am mai "Duw yr amynedd" ydyw. Pan y troseddodd Adda orchymyn Duw, ac y torodd y cyfammod drwy ei anufudd-dod, ni ddarfu i'r Arglwydd ei daflu yn uniongyrchol gorff ac enaid i uffern, ond fe gafodd fodd i fyw naw can' mlynedd a deng mlynedd a thriugain wedi hyny. Pa fodd felly? "Duw yr amynedd" yw ein Duw ni. Ac y mae gan Adda yn awr yn nef y nefoedd achos i ddiolch i Dduw am ei hir-amynedd tuag ato tra bu ar y ddaear. Ond y mae genym ni achosion llawer mwy i ddiolch pan feddyliom am galedwch ein calonau, a'r holl ymryson a wnaethom yn erbyn Ysbryd Duw trwy ddiffodd ei gymhelliadau a thori ein haddunedau. Erbyn i ni ystyried hyny, y mae yn beth rhyfedd iawn na buasid wedi ein hysgwyd cyn hyn oddiar dir y rhai byw. Ond dyma ni wedi ein harbed, ac wedi cael dyfod i'r Gymanfa y flwyddyn yma eto. Felly y mae yr Arglwydd yn hir oedi cyn tywallt ei farnau am bechod. Er i Israel ymgaledu llawer yn ei erbyn yn yr Aipht, ac ar ol eu

cychwyniad o'r Aipht, ac ar eu teithiau trwy yr anialwch, eto fe ymresymodd Duw lawer â hwy yn ei amynedd. Parhäodd i'w cynnal ac ymresymu â hwy am ddeugain mlynedd; a thrwy ymryson felly â hwy am amser mor hir, dangosodd ei fod yn hir ei amynedd, onidê buasai yn tywallt ei farn arnynt ar unwaith, fel ar Corah, a Dathan, ac Abiram. Ond peidiwn meddwl mai llwythau Israel yn unig gafodd brawf o'i amynedd; ond cawsom ninnau hefyd brofiad helaeth o'i hir-amynedd. Y mae yma heddyw rai ag y mae Duw wedi ymryson â hwy er ys mwy na deugain mlynedd. Y mae yma laweroedd ag ydynt wedi bod yn sŵn y moddion am fwy na hanner can' mlynedd, ac eto heb fawr o argoelion eu bod yn credu ac yn ufuddhâu i orchymynion Duw. Ond eto dyma hwy wedi cael eu harbed, ac wedi cael dyfod i'r moddion yma eto. Y mae hyny yn dangos fod Duw yn hynod yn ei hir-amynedd; gan ei fod mor hir, dros gymaint o amser, yn oedi y gosb haeddedig am gyndynrwydd dynion yn pechu yn ei erbyn. Yr ydym ni yn fynych yn cymeryd addysg, neu yn tynu casgliad drwg oddiwrth ei amynedd. "Am na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, y mae calonau plant dynion yn llawn ynddynt i wneuthur drwg." Y mae annuwiolion yn fynych iawn yn camddefnyddio amynedd Duw yn y dull rhyfygus yna. Y mae efe yn dangos mawredd ei drugaredd tuag atom yn oedi tywallt y farn; ac y mae yr annuwiol oblegid hyny yn tynu casgliad drwg er niwed mawr iddo ei hun. Y casgliad da, priodol, buddiol i ni dynu oddiwrth ei amynedd, fyddai i'w hir-amynedd ein tywys i edifeirwch. Prawf arall o'i amynedd ydyw

2. Ei fod yn rhybuddio cyn taro. Y mae bob amser yn arfer rhybuddio cyn i'w farn ddisgyn ar y ddaear. Onid yw ei drugaredd yn fawr ei fod yn peidio codi ei law ar unwaith a dystrywio yr anufuddion yn ddiarbed ac yn ddirybudd? Y mae yn arfer rhybuddio yr euog cyn ei

daro. Pa faint o rybuddion ydych chwi yma wedi gael? ac ymha sawl dull y'ch rhybuddiwyd? Yr ydych wedi cael eich rhybuddio gynifer o weithiau fel na wyddoch pa sawl gwaith; a phe byddai i Dduw dy daro yn awr, ni byddai genyt ddim i'w ddywedyd. Fe fyddai ei hir-amynedd mewn cof a dysgleirdeb byth. "Duw yr amynedd" ydyw. Ond cofiwn fod ei rybuddion yn profi fod y taro gerllaw.

Enwn rai esiamplau o'i ymddygiad er dangos fel y mae yn rhybuddio cyn taro.

(1.) Yn amser yr hen fyd. Pa fodd, medd rhywun, y bu hi ar breswylwyr yr hen fyd? A ddaeth y diluw i'w boddi cyn iddynt gael eu rhybuddio; cyn i neb o honynt gael rhybudd? Naddo. Nid felly y bu. Fe fu Noah, pregethwr cyfiawnder, yn eu rhybuddio ugain mlynedd a chant cyn i'r farn ddyfod; ond hi a ddaeth o'r diwedd ar ol yr holl rybuddio. Er cyhyd yr oedwyd, hi a ddaeth yn y diwedd. Ni byddai dileu yr annuwiol o'r ffordd ddim yn beth rhyfedd nac anhawdd. O annuwiol! yr wyt yn awr yn ddigon rhydd i wneuthur y peth a fyni, ac i ymgaledu yn wyneb pob rhybuddion ydwyt yn gael; ond cofia fe ddaw diwedd y rhybuddio; a diwedd y rhybuddio, os nad edifarhei, fydd y taro; a tharo nad ellir sefyll tano byth fydd taro Duw. Pan y bu i'r Tad daro ei anwyl Fab fe fu farw dan y dyrnod. Fe ddaeth y diluw o'r diwedd, ac nid oedd modd dianc; fe foddwyd yr hen fyd. Yr oeddynt wedi cael eu rhybuddio, ac yr oedd arwydd wedi cael ei roi fod y diluw yn dyfod; ond cablu a gwawdio ac estyn bysedd a thaflu dirmyg yr oeddynt ar yr hen bregethwr cyfiawn a ffyddlawn oedd yn eu rhybuddio; ond fe ddaeth y diluw yn ol y rhybuddion, ac a'u cymerodd oll ymaith. Y mae yma dyrfa fawr wedi bod ar freichiau hir-amynedd Duw yn cael eu magu yn dyner er pan ydynt ar y ddaear, ond gobeithio y deuwch bellach o freichiau ei amynedd i afael ei dragywyddol iachawdwriaeth.

(2.) Pan oedd yr Argwydd yn anfon newyn i wlad yr Aipht, a'r bobl oll ymron marw, a llawer yn ddiammheuol wedi marw, dacw Joseph yn cael ei anfon i roddi rhybudd am y newyn. Fe fu rhybuddio, ond daeth y newyn. Ni chafodd neb erioed fwy o rybuddion nag a gafodd pobl y Bala, ond cofiwch y daw y peth yr ydys yn eich rhybuddio yn ei gylch, ac ni wyddoch pa mor gynted. Y mae Duw yn rhybuddio cyn tarō. Y mae y fellten yn goleuo bob amser cyn y clywir sŵn y daran; felly y mae Duw yn melltenu cyn anfon taranau ei ddigofaint. Diolch iddo am ei rybuddion! Ffordd ei amynedd ydyw ei fod yn parhâu cyhyd i rybuddio. Dyro hwy i fyny, Arglwydd; tor hwy i lawr. Na, myfi a'u gadawaf y flwyddyn hon eto. Diolch am ei amynedd!

(3.) Cenadaeth y prophwydi pan yn cael eu hanfon y naill ar ol y llall am flynyddoedd ac oesoedd lawer, i rybuddio plant Israel; os parhâu a wnaent yn eu hannuwioldeb a'u calongaledwch a'u gwrthryfelgarwch fel yr oeddynt, mai i Babilon y caethgludid hwynt. Yr oedd pob prophwyd a godai Duw yn eu plith yn rhoddi rhyw awgrymiadau, neu rybuddion, mai diwedd eu gwrthnysigrwydd fyddai cael eu caethgludo i Babilon; ac o'r diwedd daeth yr amser; disgynodd y farn, a dacw hwy mewn caethiwed. O bobl anwyl! Gobeithio mai nid cael eich caethgludo y byddwch yn y diwedd i wlad o fythol drueni. Nerth a gaffom i gyhoeddi y dystiolaeth yn eglur, ac i rybuddio yn ffyddlawn am y perygl o oedi ac ymgyndynu.

3. Peth arall sydd yn dangos hir-amynedd Duw ydyw,—pan y mae yn cosbi, nid ydyw y gosb can drymed ag ydyw y pechod yn haeddu. Y mae cosb y pechadur yn aml yn cael ei rhoddi yn ysgafn iawn; a hyny am mai "Duw yr amynedd" sydd yn cosbi. "Er hyny efe yn drugarog a faddeuodd eu hanwiredd, ac ni ddyfethodd hwynt; ïe,

trodd ymaith ei ddigofaint yn fynych, ac ni chyffrôdd ei holl lid." Y mae peth o'r digofaint wedi cyffroi, ond ni ddaeth yr holl lid ddim i'r maes. Buasai dynion wedi darfod am danynt, a'u bwrw i ddinystr tragywyddol, pe buasai yr holl lid wedi cynhyrfu; ond fe'i cynhyrfwyd o radd i radd. Dacw y dyn yn gorwedd yn glaf yn ei wely yn methu symud; ond ni chyffröwyd yr holl lid i'w erbyn; y mae eto ar y ddaear. Y mae Duw yn trugarhâu wrtho. "Duw yr amynedd" ydyw. "Duw yr amynedd" sydd yn gofalu am dano; ni chyffrôdd ei holl lid. Ond, bechadur euog! paid di a meddwl mai felly y bydd hi byth. Fe ddaw yr holl lid allan rywbryd. O pa olwg fydd arnat pan ddelo holl lid y Duw Hollalluog allan i'th erbyn! Wedi yr oll a ddaeth arnom am ein drwg weithredoedd a'n mawr gamweddau, dylem gofio yn ddiolchgar fod ein cosb yn llai na'n haeddiant, fod y gosb yn ysgafnach na'n hanwiredd. Pa wasgfeuon bynag, a pha arteithiau bynag fu arnom, yr oeddynt yn llawer llai na'r anwiredd. Beth gafwyd? Rhoddi i ni drwy hyny ddiangfa. Pobl wedi dianc hyd yma ydyw pawb sydd ar y *Green* yma heddyw. Fe laddwyd rhywun dichon yn yr un tŷ a thydi, wedi bod yn eistedd wrth yr un bwrdd; ond pa le yr wyt ti? Wedi dianc. Nid oes yr un gorchymyn o eiddo Duw na ddarfu i ti ei dori lawer gwaith; ond wele di yn fyw eto; wedi dianc eto. Ond os ymlaen yn ei ryfyg yr ä pechadur, nis gall fod yn ddiangol yn hir; fe ddaw y gosb, ac nid ysgafn fydd y gosb yn y byd a ddaw. Bydd y gosb yno yn ol y pechod. Ond diolch! yr ydym ni eto ar freichiau amynedd tu yma i'r bedd. Fe roddodd yr Arglwydd wasanaeth ei amynedd i Adda am gannoedd o flynyddoedd wedi iddo bechu i'w erbyn. Felly yr wyt tithau, enaid euog! wedi cael llawer cenadwri gan lawer o genadon, er cymaint ydwyt wedi pechu yn ei erbyn. Cael y ddaear a'r arian a'r aur, ac ymborth heb ddim gwenwyn ynddynt i dy ladd.

Peth rhyfedd na buasai y tir a'i ffrwyth, y bara a'r enllyn, yn wenwyn; a pheth rhyfedd na buasai yr holl greaduriaid am dy wthio oddiar y ddaear; ond nid felly y mae; yr wyt ti yn cael Duw yn eu canol i'th amddiffyn. Dyna brawf o'i hir-amynedd.

4. Pan y mae yr Arglwydd yn dwyn cosb ar ddynion, y mae yn ei dwyn yn raddol ac yn araf iawn. Pa sut y darfu i'r gogoniant ymadael oddiwrth feibion Israel? Yn raddol ac yn araf. Yn raddol felly y mae y gosb yn dyfod. Yr oedd y gogoniant ar y dechreu yn symud o rywle yn ymyl y drugareddfa; ond o'r diwedd dacw y gogoniant ar riniog y tŷ. Ehed ymaith ar unwaith fel na chaffo plant Israel olwg arnat byth mwy. Na, mi gymeraf yn araf i edrych a wêl rhywun fi, a theimlo fy eisieu. Dacw y gogoniant yn symud oddiar y drugareddfa bob yn dipyn, nes y mae o'r diwedd ar riniog y tŷ. Nid oedd yno neb yn gweled yr anghen am dano. Wedi hyny dacw y gogoniant yn symud i ganol y ddinas, ac o'r diwedd yn symud i'r mynydd. Gyfeillion caredig! os gwelwch ryw arwyddion fod Duw yn cuddio ei wyneb, llefwch yn daer am iddo beidio symud y gogoniant. O ogoniant, aros! aros yn y cysegr! Yn raddol felly yr aeth y gogoniant ymaith. Felly y mae Ysbryd Duw yn gadael rhai eneidiau; y maent yn cael eu gadael i lithro i dir gwrthgiliad, ac y mae perygl na ddeuant byth yn ol. Ond eu gadael ambell dro mewn odfa yn o sychlyd, y mae bob yn dipyn yn cilio at y pared, ac am a wn i, os câ agoriad yn y pared nad ä allan. Beth sydd yn bod? Y gogoniant sydd yn cilio. Fe fu ambell un ddeg neu ddeuddeg mlynedd yn cilio. Gweddïwch am i'r gogoniant aros, yn enwedig pan welwch arwyddion ei fod yn cilio. Yn raddol iawn y mae y gosb yn dyfod. Y mae y farnedigaeth yn dyfod allan fel y goleuni. Pa fodd na ddeuai fel y mellt i daro cannoedd i lawr, a hyny ar unwaith, fel yn ngwersyll yr Assyriaid? Dyfod

fel y goleuni y mae. Pan y mae y wawr yn dechreu tori, braidd y gwelwch ddim yn yr ystafell, ond bob yn dipyn hi ddaw yn ddigon goleu i allu gweled pinau bach ar y llawr. Felly y mae yr Arglwydd yn dwyn ei farnedigaethau, fel y daw y goleuni, yn araf. Pan oedd barnedigaethau oddiwrth Dduw yn dyfod ar diriogaethau pechod, yn gyntaf deuai y lindys i ddifa, wedi hyny ceiliog y rhedyn, wedi hyny pryf y rhŵd, wedi hyny y locust; y naill yn difa ar ol y llall; ond yr oedd gan Dduw weddill wedi hyny i Israel. "Duw yr amynedd" ydyw. Efe sy'n llywodraethu. Buasent hwy yn dyfetha y cyfan ar unwaith pe cawsent y llywodraeth yn eu gafael. Felly y mae yma dipyn o weddill wedi ei adael i ninnau ar y ddaear. Gweddïwn am gymhorth i'w treulio a'u defnyddio yn well.

5. Nid gyda phleser na hoffder y mae yr Arglwydd yn cosbi neb am eu pechodau. Nid o'i fodd y mae yn blino plant dynion am eu camweddau. Achos o syndod yw fod Duw yn dywedyd uwch ben adyn euog, pa fodd y gwnaf y peth a'r peth? Wrth greu y greadigaeth yn y dechreu, ni ddywedodd ef ddim yn debyg i hyny. Ond wrth feddwl am roddi Ephraim i fyny y mae yn gwaeddi, "Pa fodd?" "Pa fodd y'th roddaf i fyny?" Y mae ei galon mor lawn o amynedd at bechadur euog, fel y mae yn gwaeddi, "Pa fodd y'th roddaf i fyny?" Byddai yn hawdd iddo âg ergyd dori i lawr yn union i dragywyddol ddystryw; ond nid felly y mae am wneyd. Nis gallwn ni ddim dirnad pa faint o amynedd a daioni Duw sydd yn yr ymadrodd, "Pa fodd y'th roddaf i fyny, Israel, ac y'th adawaf, Ephraim?" Yr wyt ti yn anwyl genyf, wedi cael dy gynnal yn hir ar freichiau fy amynedd. Ond cofied pob Ephraim, er mor hir ei amynedd, nad amynedd am byth ydyw. O enaid! ti ddeui i amgylchiad cyfyng yn y diwedd. Pa fodd y saif, neu yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur! Ië, fe allai y cânt ymguddio yn rhywle? Na, y mae yn rhaid ym-

ddangos. Ond pa fodd? Y mae modd yn awr i barotoi i allu ymddangos yno mewn sefyllfa, ac ar dir, na raid gostwng pen yn angeu nac yn y farn dragywyddol; ond y mae bwlch yn dyfod i gyfarfod yr annuwiol, na bydd ganddo ddim ond gwaeddi, Pa fodd? pa fodd? byth bythoedd!

Enwn rai gwersi oddiwrth y pethau a ddywedwyd. Y mae yr Arglwydd yn dangos ei fod yn hir ei amynedd i amryw ddybenion:—

1. Er mwyn i ddynion gael preswylio ar y ddaear. Ni buasai neb ar y ddaear yn awr yn cyfanneddu, oni buasai hir-amynedd Duw. Oni buasai ei amynedd buasai dynion wedi eu hysgytio oddiar y ddaear. Trwy ei hir-amynedd at y tadau cawsom ninnau ddyfod i'r byd i fwynhâu breintiau gogoneddus a gwerthfawr. "Duw yr amynedd" ydyw.

2. I ddangos ei barodrwydd i gymmodi â phechaduriaid. Y mae drwy ei amynedd yn dangos ei barodrwydd i dderbyn i'w ffafr y penaf o bechaduriaid.

3. Er cael cyfle i alw dynion i edifeirwch.

4. Er cyfranu iachawdwriaeth i'w holl eglwys. Diolch iddo byth am ei hir-amynedd. Y mae yr iachawdwriaeth yn dyfod felly i afael llaweroedd, mewn canlyniad i'w hir-amynedd. Dyged ei amynedd ni i edifeirwch, fel y'n gwneler oll yn etifeddion yr iachawdwriaeth.

## PREGETH XLIII.

### BRENIN SION YN GYFIAWN AC YN ACHUBYDD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. RICHARD DAVIES, CAIO.*

*Yn Llanbrynmair, yn Haf 1822.*

ZECHARIAH ix. 9: "Bydd lawen iawn, ti ferch Sïon; a chrechwena, ha ferch Jerusalem: wele dy Frenin yn dyfod atat: cyfiawn ac achubydd yw efe; y mae efe yn llariaidd, ac yn marchogaeth ar asyn, ac ar ebol llwdn asen."

Y GEIRIAU hyn ydynt genadwri rasol roed yn ngenau prophwyd yr Arglwydd at eglwys Dduw yn ei blinfyd. Y mae yr Arglwydd yn gwybod am holl helynt ei eglwys. Gŵyr am bob peth sydd yn curo arni; ond y mae y genadwri hon yn annogaeth iddi fod yn llawen; ac wrth ei

* Ganwyd yr hybarch R. DAVIES yn mhlwyf Caio, Sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1770. Dechreuodd bregethu pan tuag 20 oed. Wedi bod yn pregethu am tuag 20 mlynedd neillduwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn y flwyddyn 1815; ac wedi llafurio gyda chymeradwyaeth mawr am hanner can' mlynedd bu farw yn 1847, yn 77 mlwydd oed. Yr oedd ei ddawn yn rhwydd, a'i ymadroddion yn ddetholedig, a'i ysbryd yn llawn ireidd-dra, a thraethai bethau da yr efengyl gyda melusder anghyffredin, fel y dengys y bregeth hon o'i eiddo, yr hon y cawsom y fraint o'i gwrando pan ar ei daith drwy y Gogledd. Ei enwogrwydd, meddir, oedd mai gŵr mawr mewn gweddi ydoedd. Côf genym unwaith ei glywed yn dechreu canu ar derfyn yr oedfa yr emyn:—

"'D oes bobl a fedd fath fraint
A'r saint o dan y nef,
Yn cael eu dwyn drwy lif a thòn,
Yn ffyddlon ato ef."

hannog i fod yn llawen, y mae yn ei desgrifio dan ddau garitor, sef merch Sïon, a merch Jerusalem. Yn gyffredin yn y Bibl y mae eglwys Dduw yn cael ei nodweddu yn y rhyw fenywaidd. Weithiau chwaer, weithiau dyweddi, weithiau priodferch, bryd arall yn briodas-ferch gwraig yr Oen; ac weithiau merch y Brenin, merch Sïon, merch Jerusalem. Rhan o'r mynydd lle yr adeiladwyd y deml oedd Sïon, y lle a ddewisodd yr Arglwydd yn breswylfa iddo ei hun. "Canys dewisodd yr Arglwydd Sïon, ac a'i chwennychodd yn drigfa iddo ei hun. Dyma fy ngorphwysfa yn dragywydd; yma y trigaf, canys chwennychais hi; gan fendithio y bendithiaf ei lluniaeth; diwallaf ei thlodion â bara; ei hoffeiriaid hefyd a wisgaf â iachawdwriaeth, a'i saint dan ganu a ganant." Felly y mae iddi yn y geiriau hyn bob annogaeth i fod yn llawen. Nid yw y Bibl yn annog yr annuwiol i fod yn llawen, oddieithr mewn gwawdiaeth; ac y mae yn dangos y perygl o hyny, megys yn y geiriau, "Gwna yn llawen, ŵr ieuanc, yn nyddiau dy ieuenctyd, a rhodia yn ffordd dy galon, ac yn ngolwg dy lygaid; ond gwybydd y geilw Duw di i'r farn am hyn oll;" ac erbyn cofio am y farn, a meddwl ychydig am y farn, dyna bob gorfoledd a fêdd yr annuwiol yn diflanu ar darawiad amrant. Nid oes dim yn holl fwynderau annuwioldeb, a holl bleserau cig a gwaed, a achosa lawenydd am fynyd yn ngolwg y farn. Ni thâl dim yn wyneb ystyriaeth o'r farn o ddifyrwch pechod; ond y mae gan eglwys Dduw le a sylfaen i fod yn llawen. Y mae ganddi destynau gorfoledd. Pan y mae yr Arglwydd yn annog ei eglwys i fod yn llawen, y mae yn rhoddi iddi achos i lawenhâu. "Bydd lawen; bydd lawen iawn; a chrechwena, ha ferch Jerusalem." Nid oes dim pen draw i fod ar lawenydd y saint. Y mae testun a gwrthddrych ei llawenydd yn anfeidrol; a pharhâ ei llawenydd yn dragywyddol. Y mae yn dechreu yn y byd hwn lle y mae Satan yn trigo, a lle y

mae rhwystrau ac anhawsderau yn llïosog; ond, medd yr Arglwydd, bydd lawen, bydd lawen iawn, ti ferch Sïon, a chrechwena, ha ferch Jerusalem." Paham? "Wele y mae dy Frenin yn dyfod atat." Wedi hyny y mae yn rhoddi desgrifiad o hwnw; ei egwyddorion, a'i gynneddfau, a'i agweddau. Y mae efe yn "llariaidd;" dyna ei agwedd. Y mae y gair llariaidd yn y lle hwn o'r un ystyr a'r gair addfwyn mewn lle arall. Y mae yn dyfod gan farchogaeth ar asyn, ac ar ebol llwdn asen. Dy Frenin ydyw. Dyna yw ei neges, "dyfod atat;" ac wedi hyny bydd yn hawdd i ti ei adnabod. Y mae efe yn llariaidd, ac yn marchogaeth ar asyn, ac ar ebol llwdn asen. Y mae yn gorchymyn i'w eglwys fod yn llawen. Mwynhäwyd rhan o'r llawenydd hwn gan ddilynwyr Crist pan oedd yma yn y byd, yn enwedig pan oeddynt yn tori cangau o'r gwydd ac yn eu taflu ar hyd y ffordd, ac yn diosg eu dillad ac yn eu taenu ar hyd y ffordd o'i flaen. Yr oedd yno dyrfa fawr o Jerusalem yn ei gyfarfod, ac yr oedd tyrfa fawr yn ei ganlyn, ac yn eu mysg lawer o rai ieuainc; ac yr oeddynt yn canu eu hanthem; ond y mae yno rai yn chwerwi ar unwaith, ac yn dywedyd wrtho, "Cerydda hwynt;" ond tanio a chanu yn uwch yr oeddynt gan lefain, "Hosanna i Fab Dafydd; bendigedig yw'r Brenin sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd." "Gogoniant yn y goruchaf," neu yn y goruchafion, "i Dduw, ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Pan yr oedd rhai o'r Phariseaid yn dywedyd wrtho am roddi *hust* arnynt, y mae yntau yn eu hateb, ac yn dywedyd wrthynt, "Pe tawai y rhai hyn llefai y ceryg yn y fan." Buasai yr un mor hawdd iddynt hwy oddef y ceryg i lefaru a goddef i'r dysgyblion.

"Bydd lawen iawn," er pob peth, "ti ferch Sïon, a chrechwena, ha ferch Jerusalem: wele dy Frenin yn dyfod atat." Y mae yn dyfod atat, yn dyfod o bell; y mae wedi trefnu dyfod er tragywyddoldeb. Y mae yn dyfod, ac efe a

ddaw: y mae wedi bwriadu dyfod atat ti cyn bod na môr na mynydd. "Pan roddodd efe ddeddf i'r môr ac i'r dyfroedd na thorent ei orchymyn ef; pan osododd efe sylfeini y ddaear, yna yr oeddwn i gydag ef, megys un wedi ei feithrin gydag ef, ac yr oeddwn yn hyfrydwch iddo beunydd, yn llawenychu ger ei fron ef bob amser, ac yn llawenychu yn nghyfanneddle ei ddaear ef, a'm hyfrydwch oedd gyda meibion dynion." Hyny oedd yn ei olwg ef yn barhâus. Yr oedd yr eglwys yn gwybod y byddai i'r Iesu wisgo ei natur hi, ac yr oedd hyny yn achos o lawenydd iddi. Dyna fel y byddai yn dyweyd yn ngolwg yr addewidion am Grist, "O na bait megys brawd i mi, yn sugno bronau fy mam!" Dyna fel yr oedd yn dywedyd am yr oesau i ddyfod, O na baent wedi dyfod; O na bait megys brawd i mi yn sugno bronau fy mam! Ond y maent yn awr wedi dyfod. Os oedd achos gan eglwys yr Hen Destament i fod yn llawen, pan oedd ei Brenin ar ei daith yn dyfod, pa faint mwy sydd gan eglwys y Testament Newydd pan y mae wedi dyfod?

Ei garitor i'r eglwys yw ei Brenin,—"dy Frenin," dy Frenin cyfreithlawn yw efe, dy unig Frenin a'th Frenin am byth. "Minnau a osodais fy Mrenin ar Sïon, fy mynydd sanctaidd. Pwy yw efe? Crist Iesu, Brenin Sïon, yr hwn a etholodd y Tad, ac a osododd y Tad mewn arfaeth dragywyddol i fod yn frenin, ac yn frenin am byth ar Sïon.

Deiliaid teyrnas Mab Duw, y rhai sydd dan lywodraeth gras y Cyfryngwr, ydynt y rhai ffyddlonaf o bawb i'r llywodraeth wladol. "Ymddarostyngwch oblegid hyn i bob dynol ordinhâd, o herwydd yr Arglwydd, pa un bynag ai i'r brenin megys goruchaf, ai i'r llywiawdwyr megys trwyddo ef wedi eu danfon er dial ar y drwgweithredwyr, a mawl i'r gweithredwyr da." Y rhai y mae egwyddorion llywodraeth Mab Duw yn eu calon ydynt y deiliaid ffyddlonaf i ddeddfau y deyrnas wladol. "Dy Frenin" yw, ac a fydd

efe; "ac efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd, ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd."

Caritor y Brenin yw, "Cyfiawn ac Achubydd." Pwy ydyw ef? Brenin Sïon o dragywyddol osodiad y Tad. "Cyfiawn yw efe;" nid gormeswr, ond cyfiawn, uniawn, teg. Y mae ganddo bob awdurdod uniawn yn ei law. Y mae ganddo awdurdod i ddal pechaduriaid pan y myno, a gallu i'w plygu yn ewyllysgar yn nydd ei nerth. "Cyfiawn ac Achubydd" hefyd "yw efe." Y mae i'w olygu yn gyfiawn mewn ystyr ddeublyg:—

1. O ran ei gyfreithlawn fynediad i'w swydd gyfryngol. "Cyfiawn yw efe," dewisedig y Tad, Eneiniog y Tad, ac y mae yn berffaith gymhwys i'w swydd. Yn y ddegfed bennod o Ioan y mae yr Arglwydd Iesu yn crybwyll ei fynediad i mewn fel Bugail y praidd drwy'r drws i'r gorlan. Beth olygir wrth y myned i mewn drwy y drws? Wel, ei ddewisiad gan y Tad, a'i osodiad yn ei swyddau cyfryngol, fel nad oes modd byth ei ddiswyddo.

2. Y mae yn gyfiawn, yn yr ail olygiad, oblegid ei fod wedi ateb yn ein lle ni, a rhoddi hollol ddigonol iawn i gyfiawnder, ac wedi boddloni y Tad, a chadw y ddeddf dan ei hanrhydedd, ac agor a phalmantu ffordd rydd, gyfreithlawn, i drugaredd i achub pechaduriaid. Y mae y gair achub yn arwyddo fod perygl; ac y mae dynion yn euog ac mewn perygl ofnadwy, mewn perygl o golledigaeth dragywyddol. Peth pwysig yw achub bywyd; achub o safn y llew, ac o balf yr arth; achub o'r dwfr rhag boddi, achub o'r tân rhag llosgi, achub o glogwyn y graig rhag syrthio yn ddrylliau; ond pa berygl all fod yn fwy na'r un y mae pechadur yn agored iddo? Pa berygl all fod yn fwy na bod yn agored i ddigofaint yr Hollalluog? a bod yn ddamnedig dros byth yn uffern? Bod yn estron oddiwrth Dduw, ac yn elyn iddo? Ond a oes modd achub? Y mae ein testun yn dangos fod: fod yr Iesu yn gyfiawn

ac yn achubydd. Wrth ystyried y difrod ofnadwy y mae pechod wedi wneyd yn y byd, a'r cylymau sydd gan Satan a chan y byd a'r ddeddf ar y pechadur, y mae y prophwyd yn gofyn, "A ddygir y caffaeliaid oddiar y cadarn? a waredir y rhai a garcharwyd yn gyfiawn?" Y maent yn y carchar, ac yn y carchar yn gyfiawn, ac nid oes gan Satan yr un *right* i'w cadw yno. Aethost ti, bechadur, i'r carchar yn gyfiawn, ond trais-feddiannydd yw Satan; nid oes ganddo yr un hawl i dy gadw yn y carchar; ond y mae gan Grist hawl i'w droi ef o'r neilldu, a dy ryddhâu o'r carchar. Gallai rhai daeru fod Satan yn gadarn, a bod pawb yn dawel dan ei lywodraeth; ond gall yr Iesu ddyweyd ei fod yn gryfach nag ef. "Cyfiawn ac achubydd yw efe." Nid oes neb yn y nefoedd yn erbyn i'r Iesu achub. Ha ferch Sïon, cân a llawenycha; crechwena, ha ferch Jerusalem; ymlawenycha a gorfoledda â'th holl galon. "Y dydd hwnw y dywedir wrth Jerusalem, Nac ofna; ac wrth Sïon, Na laesed dy ddwylaw. Yr Arglwydd dy Dduw yn dy ganol di sydd gadarn; efe a achub, efe a lawenycha o'th blegid gan lawenydd; efe a lonydda yn ei gariad; efe a ymddigrifa ynot dan ganu." Y mae o'i gariad yn cyhoeddi yn awr, "Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear, fel y'ch achuber; canys myfi wyf Dduw, ac nid neb arall."

"O Sïon, llawenhâ trwy ffydd,
Dy Briod di sydd Ben;
Mae pob awdurdod ganddo Ef
Ar orsedd nefoedd wen."

## PREGETH XLIV.

### LLAWENYDD AM DDYCHWELIAD PECHADUR.

GAN Y PARCH. WILLIAM JONES, DOLYDDELEN.*

*Yn Llanbrynmair, Mawrth 1825.*

LUC xv. 7: "Yr wyf yn dywedyd i chwi, mai felly y bydd llawenydd yn y nef am un pechadur a edifarhäo mwy nag am onid un pum' ugain o rai cyfiawn, y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch."

Y MAE yn amlwg mai yr Arglwydd Iesu a lefarodd eiriau ein testun. Y mae yn amlwg hefyd ei fod wedi eu llefaru mewn cysylltiad â rhywbeth arall ag oedd wedi bod dan sylw o'r blaen. Y mae y gair "felly" yn dangos hyny. "*Felly* y bydd llawenydd yn y nef." Y geiriau olaf o ddammeg ydynt, sef dammeg y ddafad a gollasid. Y mae amryw o ddammegion yr Iesu i'w cael yn y pennodau blaenorol; ac yr oedd llawer iawn o bobl yn gwrando arno. Yr oedd gwrandäwyr yr Arglwydd Iesu y pryd hyny, fel y maent yn awr, weithiau yn llïosog iawn, ac weithiau yn ychydig. Byddent weithiau yn dywedyd, "Ni lefarodd neb erioed fel y dyn hwn;" bryd arall

* Gyda hyfrydwch mawr yr ydym yn rhoddi y ddwy bregeth ganlynol i mewn o eiddo y Parch. WILLIAM JONES, sef brawd i'r Parchn. John Jones, Talysarn, a David Jones, Treborth. Gadawodd Mr. W. Jones y wlad hon am America tua 40 mlynedd yn ol, ac y mae weithian tuag 80 mlwydd oed. Gan nad oes tebygolrwydd y gwelir ef mwyach yn Nghymru, bydd yn dda gan gannoedd o'i hen wrandäwyr gael mwynhâu y ddwy bregeth yma, y rhai sydd yn llawn o'r elfen gyfeiriadol hono ag sydd wedi bod mor fendithiol i filoedd gwrandäwyr Cymru. Eithriad ydyw yn y *Gofadail*, ond eithriad, mae yn ddiau genym, a werthfawrogir gan laweroedd.

byddent yn dywedyd fod cythraul ganddo. Felly y mae yn awr yn bur aml. Yr oedd y pryd hyny lawer o bobl yn ei wrando. Yr oeddynt yn bedwar math o bobl; neu ddau fath dan wahanol enwau. Felly y mae yn awr. Y mae llawer o wahaniaeth rhwng gwrandäwyr ein hamser ni; llawer o wahaniaeth yn eu meddyliau a'u teimladau. Llawer o wahaniaeth yn eu barnau am danynt eu hunain: rhai yn meddwl yn o dda am danynt eu hunain, ac yn dywedyd, 'Fe byddai genyf fi gystal siawns a hwn a hwn pe bawn yn marw.' Y mae gan eraill feddyliau gwael iawn am danynt eu hunain. Y mae y ddau fath gyntaf oeddynt yn ei wrando yn cael eu henwi y "publicanod a'r pechaduriaid." Y publicanod oeddynt rai o'r genedl Iuddewig, ond eu bod wedi cymeryd swydd gan y Rhufeiniaid i gasglu y dreth, neu y deyrnged ag oedd yr Iuddewon yn orfod dalu i'r Rhufeiniaid. A phwy bynag a gymerai y swydd hono, byddai yr Iuddewon yn edrych arno fel un esgymunedig a gwrthodedig, ac annheilwng o bob braint ag oedd yn perthyn iddynt fel cenedl. Wrth y gair pechaduriaid, meddyliwn y golygir rhyw bobl mwy annuwiol na'r cyffredin, y rhai mwyaf dibarch i Dduw, ac iddynt eu hunain na'r bobl yn gyffredin. Y mae rhyw bobl fel hyn ymhob ardal ac oes, rhyw rai yn fwy aflan a rhyfygus na'r bobl yn gyffredin. Y mae ambell i fachgenyn ieuanc ag y cewch glywed y cymydogion yn dyweyd am dano, 'Y mae hwna yn waeth na neb, y *blackguard* penaf yn ei oes ydyw.' Ac y mae ambell un mewn oed ag y dywedir yr un peth am dano; ac y mae ambell lodes ieuanc yn fwy aflan, tyngedig a phechadurus na neb o'i chyfoedion. Rhyw rai tebyg i hyn oedd y "pechaduriaid." Ond yr oeddynt wedi dyfod i'r odfa, nid i edrych o'u cwmpas, ond i weled yr Iesu, a gwrando ei eiriau. Yr oedd rhywbeth pwysig a rhyfedd yn gwasgu ar eu meddwl. Nid oedd yn ddigon ganddynt ddyfod i gwr

y gwersyll, neu i edrych pa nifer o bobl oedd yno, na pha ddosbarth oeddynt; ond yr oeddynt am wrando. Gobeithio nad oes neb wedi dyfod yma heddyw i dreulio dwy awr o amser i eistedd a chysgu, ond eich bod wedi dyfod yma i wrando. Ac un tirion iawn oedd yr Arglwydd Iesu wrth bechaduriaid pan yr oedd yma ar y ddaear. Nid oedd yn dannod iddynt eu pechodau, ond yr oedd yn edrych yn gariadlawn arnynt, ac yn llefaru yn dirion wrthynt. Yr oedd y pryd hyny ddau fath eraill o bobl yn ei wrando, sef yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Dau *barty* o bobl lân iawn oedd y rhai hyny; rhyw fath o grefyddwyr; ac yr oeddynt yn fanwl iawn yn eu hagwedd allanol, yn fanwl hyd at drwch y blewyn. Yr oeddynt yn ymprydio ddwywaith yn yr wythnos—yn cadw dwy ŵyl ympryd bob wythnos; ac yr oeddynt yn degymu pob peth oedd ganddynt; a dyna oedd eu dyben, gwneyd llwybr iddynt eu hunain i fyned i'r nefoedd. A phan yr oedd yr Iesu yn derbyn pechaduriaid yr oedd y rhai hyn yn gwgu. Felly y mae rhai eto: gwneled yr Arglwydd Iesu yr hyn a fyno, y mae rhywrai yn gwgu ac yn beïo. Hwyrach pe byddai iddo droi ac achub gwraig dy fynwes, y ceid dy weled di yn gwgu, a dy glywed yn grwgnach. Felly yr oedd gynt pan yr oedd yn derbyn y rhai gwaelion hyny; yr oedd yno rai yn grwgnach, ac yr oeddynt yn ceisio profi oddiwrth hyny mai nid efe oedd y Messïah; a dyna y rheswm oedd ganddynt, "Y mae hwn yn derbyn publicanod a phechaduriaid, ac yn bwyta gyda hwynt." "Nid hwn yw y Crist," meddent; na feddylied neb mai hwn yw y Crist, "y mae hwn yn derbyn pechaduriaid ac yn bwyta gyda hwynt." Y mae yn dda genyf gydnabod, ac y mae yn dda iawn i ni oll eu bod yn dyweyd y gwir; er eu bod hwy yn dyweyd o genfigen a rhagfarn, eto yr oeddynt yn dyweyd y gwir am dano. "Y mae hwn yn derbyn pechaduriaid." Y mae llawer iawn o bethau wedi newid er yr amser hyny, ond y

mae y ffaith yma yn para o hyd yr un; heb newid dim. Y mae Iesu yr un o hyd. Bu Moses, ac Aaron a Josua a llawer eraill o'r hen dadau gyda gwersyll y saint, ond y maent yn awr wedi eu claddu er ys llawer dydd; ond y mae Iesu yn para yr un, ac y mae o hyd yn derbyn pechaduriaid. Y mae yn para yr un, nid i ddannod i ti pa faint ddarfu i ti bechu, ond i'th dderbyn a'th ymgeleddu. Gan hyny wynebwn ato fel yr ydym.

I'r dyben i ddangos i'r bobl lân a chyfiawn mai dyna y bobl y mae yr Arglwydd am eu hachub y llefarodd yr Arglwydd Iesu y ddammeg hon. Y mae y ddammeg mor eglur, fel y mae yn hawdd i ni wybod beth oedd ei amcan. "Pa ddyn o honoch a chanddo gant o ddefaid, ac os cyll un o honynt," hyny yw un o'r cant, "nad yw yn gadael yr amyn un pum' ugain yn yr anialwch, ac yn myned ar ol yr hon a gollasid?"Ië, efe a edrych o amgylch ychydig i edrych a wêl efe hi yn rhywle yn ei ymyl; ac os na wêl efe hi efe a ddywed, 'Y mae genyf bedwar ugain a phedair ar bymtheg eto, am hyny nid af ar ol hono i'r anialwch.' Na, y mae yn myned ac yn ei cheisio hyd oni chaffo efe hi. A beth wedi hyny? Gyru y ci ar ei hol, gan ddywedyd ei bod wedi peri llawer o bryder iddo? Na, nid felly y mae yn gwneyd, ond "y mae yn ei dodi ar ei ysgwyddau ei hun;" ïe, dan gwyno ac wylo, nage ond "yn llawen." Y mae yn ei dwyn yn ol ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen o fodd ei galon. Pa faint bynag o gorsydd a nentydd ac afonydd sydd ar ei ffordd, y mae yn foddlawn ei dwyn ar ei ysgwyddau ei hun; a hyny nid dan gwynfan, ond dan lawenhâu. Ac wedi cyrhaedd adref, y mae yn galw ar ei gymydogion, ac yn eu gwahodd i gydlawenhâu âg ef. Beth yw'r mater? medd rhywun; paham yr wyt mor llawen? A oes genyt ti ryw gant o ddefaid yn rhywle ac am i ni lawenhâu oblegid hyny? Na, y mae genyf achos arall i lawenhâu heddyw, "Cefais fy nafad a gollasid."

Y mae y golledig wedi dyfod adref, am hyny deuwch i gydlawenhâu â mi. Yna y mae Crist yn dywedyd mewn canlyniad i hyn, "Yr wyf yn dywedyd i chwi mai felly y bydd llawenydd yn y nef am un pechadur a edifarhäo, mwy nag am onid un pum' ugain y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch," sef y bobl gyfiawn. Fel pe buasai yn dywedyd wrthynt, 'Er eich bod chwi yn cablu ac yn gwawdio wrth weled publicanod a phechaduriad yn dyfod ataf, a minnau yn eu derbyn, y mae llawenydd yn y nef am hyny. Wrth weled y rhai hyn yn agosâu at orseddfainc y gras dan gerdded ac wylo, yn edifeiriol am eu pechodau, y mae llawenydd drwy y nefoedd.

Dyna beth ag y bum lawer gwaith yn rhyfeddu wrth feddwl am dano; sef bod son yn y Bibl am bechadur, a son hefyd am lawenhâu. Y mae hyn yn achos i ni oll synu a rhyfeddu. Ni buasai yn rhyfedd yn y byd pe buasem oll yn uffern yn galaru ac yn ochain a wylofain yn y pwll diwaelod. Ond dyna sydd ryfedd, bod genym achos i lawenhâu. Hwyrach fod yma ryw frawd neu chwaer ag y mae dy bechodau a'th gyflwr damniol bron a dy suddo yn îs na'r bedd, a'th fod mewn digalondid trwm, ond beth pe clywit ti pan ar dy liniau yn dy boen, fel y mae hi yn y nefoedd wrth dy weled? Beth pe gwelit yr olwg sydd yn y nefoedd pan yr wyt ti yn crynu rhag mai yn uffern y byddi dros byth o herwydd dy bechodau? O frodyr a chwïorydd! pan yr ydym ni yn galaru am ein pechodau, ceisiwn beidio llwfrhâu, "y mae llawenydd yn y nef." Ac yn awr mi soniaf ychydig am y llawenydd.

1. Y mae llawenydd anghyffredin yn yr eglwys ar y ddaear pan y mae pechadur yn edifarhâu. Ni welsoch chwi erioed gymaint o lawenydd nac o gynhesach gorfoledd nag sydd yn yr eglwys ar y ddaear pan y mae pechadur yn edifarhâu. Ni raid i ni fyned ymhell yn ol, nac ymhell oddiyma er profi hyn. Gofynaf i chwi y bobl syml a

duwiol sydd yma yn awr yn fy ngwrando,—A fu eich calonau ddim ar dân o orfoledd pan y byddai rhyw hen bechadur yn troi ei wyneb tua thŷ yr Arglwydd, ac ôl llaw yr Arglwydd ar ei gyflwr, ac arwyddion amlwg ei fod yn edifarhâu? Yr wyf yn sicr fod yma lawer yn fy ngwrando heddyw ag y byddai i'w calonau fflamio o lawenydd pe baent yn cael gweled rhyw hen bechadur ar fin ei fedd—rhyw *rebel* caled annuwiol, yn troi ei wyneb tua thŷ ei Dad nefol. Felly mae yn eglur fod llawenydd yn yr eglwys ar y ddaear pan y mae pechadur yn edifarhâu. Gwyddir am y mab afradlon wedi iddo adael tŷ ei dad, a myned i wlad bell, a gwario y cyfan a feddai, a difa ei ddâ gyda phuteiniaid; a phan y daeth newyn ato, ac iddo ddechreu bod mewn eisieu, a theimlo fod perygl iddo farw o newyn, dyna ef yn dechreu dywedyd, "Pa sawl gwas cyflog o'r eiddo fy nhad sydd yn cael eu gwala a'u gweddill o fara, a minnau yn marw o newyn!" Waeth i ti heb son am dŷ dy dad; yr wyt wedi ei adael er ys hir amser; ni weli di byth mwy mo wyneb siriol dy dad. Na, meddai yntau, y mae awydd ar fy nghalon i godi a dychwelyd; er fy mod wedi troi yn fachgen drwg iawn, eto y mae arnaf hiraeth am dŷ fy nhad; ac mi a wn pa beth a wnaf, a beth fydd y ffordd debycaf o lwyddo gydag ef. Gwaeddaf, "Pechais yn erbyn y nef ac o'th flaen dithau, ac mwyach nid ydwyf deilwng i'm galw yn fab i ti; gwna fi fel un o'th weision cyflog." Yr wyf yn foddlawn os caf ryw gongl yn dy dŷ. Ond wrth ei ganfod yn dyfod dan wylo, clywaf y tad yn gwaeddi ar y gweision, "Dygwch allan y wisg oreu, a rhoddwch fodrwy ar ei law, ac esgidiau am ei draed, a dygwch allan y llo pasgedig, a byddwn lawen; canys y mae fy mab a fu farw wedi dyfod yn fyw drachefn." Fe fu ar goll ond yr ydys wedi ei gael; fe fu yn y wlad bell, ond y mae yn awr wedi dyfod adref yn ei ol. "A hwy a ddechreuasant fod yn llawen." Llefwn am ddylanwad Ysbryd Duw er cael gweled llaweroedd

o blant marwolaeth yn wynebu yn ol tua thŷ eu Tad fel y byddo i'r saint ar y ddaear gael achos a modd i lawenhâu.

2. Ond dyna sydd yn rhyfeddach: "y mae llawenydd yn y nef," yn ngwlad y gogoniant, pan y mae pechadur yn edifarhâu. Y mae angylion yn yr odfa yma heddyw, a phe byddai i bechadur ddechreu edifarhâu a galaru am ei bechod, a gofyn pa beth i'w wneyd er bod yn gadwedig, brysient am y cyntaf i gario y newydd i'r nefoedd, ac yna fe fydd llawenydd drwy yr holl nefoedd; "llawenydd yn ngwydd angylion Duw." Meddyliwn oddiwrth hyn eu bod yn medru dwyn ar ddeall i'r hen frodyr sydd wedi cyrhaedd adref, a braidd na feddyliwn fod yr hen saint ynghyd â'r angylion yn dechreu chwareu eu tànau; ac hefyd er nad oes dim yn cymeryd lle yno a'r nad yw y Tad nefol yn ei wybod, ni chamgymerwn pe dywedwn fod y Tad yn llawenhâu pan y mae yr angylion yn adrodd y newydd, gan ddywedyd, 'Dacw un ag y mae ei enw yn ysgrifenedig yn fy llyfr; ac er ei fod wedi myned i wlad mor bell, dacw ef yn awr ar ei liniau yn troi ei wyneb tuag adref.' Ac hefyd y mae yr Ysbryd Glân yn llawenhâu, ac yn dywedyd, 'Dacw un ag yr oeddwn wedi ymrwymo i'w olchi a'i sancteiddio;' a braidd na feddyliwn fy mod yn clywed yr Arglwydd Iesu fel Cyfryngwr bendigedig yn dywedyd, 'Gadewch le i minnau lawenhâu; dacw un o'r teulu ag yr oedd ei bechodau yn pwyso arnaf yn yr ardd; dacw un o'r rhai ag yr oedd y cleddyf yn myned drwy fy nghalon er ei fwyn; dacw un o'r perlau fydd yn fy nghoron byth.' Ac felly y mae llawenydd a gorfoledd drwy yr holl nefoedd.

Ond pwy a feddylir wrth "y rhai cyfiawn, y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch?" Y pum' ugain ond un, y rhai ydynt heb gynhyrfu cymaint o lawenydd ag un pechadur sydd yn edifarhâu?

1. Meddyliaf mai y prif rai a olygir yma gan yr Arglwydd Iesu oedd y bobl hunan-gyfiawn, y bobl lân yn eu

golwg eu hunain. Y mae rhyw fath o bobl, dywedwch a fynoch wrthynt am ddiffygion eu cyflwr fel pechaduriaid, ni chyfaddefant byth fod arnynt hwy eisieu edifeirwch; y maent yn meddwl eu bod cystal a neb beth bynag, ac y bydd hi cystal arnynt hwy ag ar neb yn y diwedd. Cofia di, y dyn glân yn dy olwg dy hun, ag sydd yn ymlawenhâu yn dy hunan-gyfiawnder, y rhaid i ti gael edifeirwch neu dy ddamnio.

2. Meddyliwn mai nid anmhriodol fyddai dywedyd mai eglwys Dduw a olygir wrth "y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch," o leiaf yn ol ystyr y gair yma. Wrth ystyried beth yw y gras o edifeirwch—mai gofid yn y meddwl yw, a bod pob dyn duwiol wedi ei brofi, nid rhaid i'r duwiol hwnw wrth edifeirwch. Y mae wedi ymbriodi â Mab Duw, ac wedi gadael y wlad ddrygionus dlawd, ac wedi gwynebu ar y wlad dda; eto y mae'n medru galaru am ei golliadau.

3. Meddyliwn y gellir dywedyd hyn am yr angylion. Y maent yn dyrfa fawr iawn, yn filoedd dirif. Nis gwn pa nifer ydynt: ond y mae rhyw air yn dywedyd, "Cerbydau Duw ydynt ugain mil, sef miloedd o angylion." Ond nid rhaid iddynt hwy wrth edifeirwch; ni ddarfu iddynt erioed bechu yn erbyn eu Duw. Ond dyna lle y mae rhyfeddod, rhyfeddod y rhyfeddodau, y mae mwy o lawenydd yn y nef am un pechadur a edifarhäo nag am yr holl rai hyny i gyd. Y mae mwy o lawenydd yn y nef pan y byddo un pechadur yn edifarhâu nag am yr holl rai a enwyd, y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch. Er cadarnhâu ac egluro hyn ymhellach,

1. Sylwaf, fod mwy o lawenydd yn y nef am un pechadur a edifarhäo nag am yr holl rai hunan-gyfiawn, y rhai fu neu sydd neu a ddaw ar y ddaear byth. Y mae hyny yn beth digon rhesymol. Pe gwelech lon'd y byd o bobl hunan-gyfiawn, beth bynag fydd eu gweithredoedd, y maent am gael y clod i gyd oll iddynt eu hunain; eu gogoniant

eu hunain sydd ganddynt 'mewn golwg, ymhob dim ac ymhob man; ond pan y mae pechadur tlawd yn edifarhâu, y mae am ddiolch i'r Arglwydd ei fod yn fyw y tu yma i'r tân tragywyddol, ac i ras y mae yn diolch, ac am drugaredd y mae yn gweddio; ac fe gaiff yr Arglwydd fwy o glod, ac o'i ogoneddu am anfeidrol olud ei ras oddiwrth hwnw, nag oddiwrth y rhai hunan-gyfiawn. Derchafa hwnw fwy ar rinweddau angeu y groes nag a wna y namyn un pum' ugain o rai cyfiawn, y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch; ac felly nid rhyfedd fod mwy o lawenydd yn y nef oblegid hyny.

2. Y mae mwy o lawenydd yn y nef am un pechadur a edifarhäo nag am holl waith yr eglwys. Pe byddai yn yr ardal yma rhyw hen wrthgiliwr wedi gadael eglwys Dduw, wedi bod yn dda gan yr eglwys unwaith feddwl am dano, byddai yno lawenydd ei weled yn edifarhâu. Y mae rhai felly ymhob ardal, rhai ag y bu dda gan eu cyfeillion gerdded gyda hwy i dŷ Dduw; ond gwadasant y ffydd, cefnasant ar dŷ Dduw, ac yn awr y mae tristwch yn nghalonau eu cyfeillion nad oes gobaith y deuant byth yn ol, a bod lle i ofni eu bod yn galetach na neb yn yr ardal. Ond pe gwelech rai felly, ar ol hir ymgaledu ar diroedd gwrthgiliad, yn dechreu galaru, ac ôl llaw Duw yn eglur ar eu hedifeirwch, oni byddai mwy o lawenydd genych am achubiaeth y rhai hyny nag am gysur yr holl deulu i gyd? Y mae yn dda genym am ein gilydd i gyd, ond pan welom ryw hen frawd neu chwaer wedi bod ar dir gwrthgiliad, yn dyfod yn ol, y mae mwy o lawenydd am hyny nag am y cwbl. O wrthgilwyr! tynered y Nefoedd eich calonau yn awr i edifarhâu, ac yna cawn fyned oddiyma dan ganu. Rhywbeth tebyg i hyn fyddai, pe baech yn meddwl am wraig a chanddi bedwar neu bump o blant, a'i bod yn eu caru i gyd oll yn fawr iawn, ac nas mynai er dim ymadael â hwy nac un o honynt, a phe byddai un o honynt yn myned

yn sâl iawn, mor sâl nes yr oedd hi yn meddwl y byddai raid ei golli, ac y byddai raid ymadael âg ef er anwyled ydoedd; ond pan oedd yn gweled argoelion ei fod yn cael ei adferu, fe fyddai y fam yn llawenhâu yn fawr. Yr oedd yn dda ganddi am y lleill i gyd; ond yr oedd mwy o lawenydd yn ei chalon am adferiad hwn, oblegid yr oedd wedi bod yn ofni y buasai yn ei golli. Byddai mwy o lawenydd yn y teulu am hyny nag am ddim arall. Hefyd pe meddyliech am ryw un anystyriol iawn, mwy anystyriol ac annuwiol na neb yn yr ardal, a llaw Duw yn cyrhaedd hwnw ac yn ei dywys yn ol i'w eglwys, oni byddai yno fwy o fawrhâu gras yn achub hwnw nag yn ymgeleddiad yr holl deulu? Felly y mae mwy o lawenydd yn eglwys Dduw pan y mae un pechadur yn edifarhâu ac yn dyfod i erfyn am ei le yn yr eglwys, nag am ddim arall a ddygwyddo yn yr eglwys.

Y mae mwy o lawenydd yn y nef pan y mae un pechadur yn edifarhâu nag sydd yno am yr holl dorf hardd o angylion sydd yno o gylch yr orseddfainc. Y mae genyt sail i ddywedyd hyn. Fel y canodd yr hen brydydd yn gynhes a rhagorol,

> "Bydd canu uwch am Galfari,
> Nag glywodd yr angylion fry,
> Pan ddelo Salem bur yn llawn."

A phan y cyrhaeddi di adref bydd genyt fwy i'w ddywedyd am ddaioni Duw, ac fe rydd fwy o dân cariad a diolch yn dy galon, nag a fu mewn seraph erioed. Ti ddywedi fwy am yr iachawdwriaeth, a gogoneddi fwy ar ei ras, nag a all y cyfan o'r angylion wneyd. Y mae yr angylion yn un dorf fawr yno yn canu eu cydgerdd, am eu creu ac am eu cynnal; ond pan y deui di adref, byddi yn gallu canu yn uwch na hwy i gyd; byddi di yn gallu gwaeddi "Iddo Ef" am garu gelyn; "Iddo Ef" am farw yn fy lle; "Iddo

Ef" am yfed y cwpanaid chwerw drosof; "Iddo Ef" am sefyll o fy mlaen ar y ffordd pan oeddwn yn ymyl uffern dân, gan ddywedyd yn gariadlawn wrthyf, "Hyd yma yr äi ac nid ymhellach;" "Iddo Ef" am fy ngalw, a rhedeg ar fy ol a'm dwyn adref; "Iddo Ef" am fy nhywys drwy yr anialwch, ac am ddal fy mhen uwch y tònau yn yr afon, a'm dwyn yn iach adref, er haeddu marw. Cawn ganu yn uwch a chynhesach pan y delom adref, na dim canu a glywodd yr angylion erioed.

Bechadur! y mae yn *bily* dy fod heb edifarhâu. Fe gaiff Duw fwy o glod am achub un pechadur, a mwy o ganmawl ar ei ras, nag am greadigaeth a chadwraeth yr holl angylion.

"Beth yw 'r telynau aur
Sydd gan angylion fry?
Pa fath ganiadau geir
Gan nefol berffaith lu?
A feddant hwy felusach dôn
Na 'r anthem, 'Teilwng ydyw 'r Oen?'"

## PREGETH XLV.

### UFUDD-DOD I AIR CRIST YN SICRHAU LLWYDDIANT.

GAN Y PARCH. WILLIAM JONES, DOLYDDELEN.

*Yn Llanbrynmair, Mawrth 1825.*

LUC v. 5, 6: "A Simon a atebodd ac a ddywedodd wrtho, O Feistr, er i ni boeni ar hyd y nos, ni ddaliasom ni ddim; eto ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd. Ac wedi iddynt wneuthur hyny, hwy a ddaliasant liaws mawr o bysgod, a'u rhwyd hwynt a rwygodd."

Y MAE pob rhan o'r Bibl yn fuddiol, ac y mae yn anghenrheidiol talu sylw, ïe, a sylw manwl a difrifol, i'w holl eiriau i gyd; ac felly y mae y rhanau hanesyddol o'r Ysgrythyrau yn fuddiol ac yn addysgiadol. Gallai fod rhai yn meddwl am ranau o'r Bibl nad ydynt o ddim gwerth, a'u bod yn methu deall paham y rhoddwyd llawer o bethau sydd ynddo; ond y mae y cyfan oll sydd ynddo wedi ei ysgrifenu er addysg i ni. Felly y mae yr hanes sydd yma yn hanes addysgiadol iawn, ac yn hanes neillduol o fuddiol i ddal sylw arno. Yr hanes sydd yma yw, hanes rhyw ychydig o ddynion yn pysgota; ac yr oeddynt gyda'r pysgota yn debyg iawn fel y mae hi eleni ar lawer gyda phethau y byd, yn o aflwyddiannus. Er bod yn ffyddlawn gyda'r alwedigaeth, a bod yn fedrus ynddi hefyd, y mae y fath beth yn bod ag i ni fethu llwyddo yn ein galwedigaethau; ac fe fyddai yn dda i ni feddwl mai yn llaw yr Arglwydd y mae y cyfoethogi, ac nid yn ein medr na'n manylrwydd na'n diwydrwydd ni. Yr Arglwydd yn unig bïau y llwyddo. Felly yr oedd hi ar y rhai hyn.

Pysgotwyr oeddynt wrth eu galwedigaeth, ac yr oeddynt yn ddiwyd a medrus yn eu galwedigaeth; ond dyma hwy wedi cyfarfod â thro pur aflwyddiannus. Nid oeddynt wedi dal dim, er wedi llafurio drwy'r nos. Nid oeddynt ddim cyfoethocach yn y bore nag oeddynt wrth gychwyn yr hwyr o'r blaen. Ond fe ddygwyddodd i'r Arglwydd Iesu yr adeg hono ddyfod i gadw odfa, a daeth i làn y llyn lle yr oedd gan y pysgodwyr longau; ac yr oedd yno dyrfa fawr iawn, ac yr oeddynt mewn ysbryd brwd ac agwedd ddifrifol yn eu hawydd i wrando geiriau Crist. Yr oeddynt yn pwyso ac yn ymwasgu ato er clywed ei eiriau. Meddyliwn eu bod yn debyg i'r wraig hono oedd yn tori drwy y dyrfa i ddyfod ato; felly yr oedd y dorf yn pwyso ato er cael clywed ei eiriau. Peth gofidus iawn i weision yr Arglwydd ydyw fod eu gwrandäwyr yn edrych o'u cwmpas. Byddai yn beth ffeind yma eich gweled fel yr oedd y rhai hyn, â'ch holl egni am gael clywed a deall a gwybod geiriau Duw. A dyna fel y bu hi y tro hwnw wrth y llyn. Pan oedd y bobl yn ymwthio at yr Arglwydd Iesu, aeth yr Iesu i un o'r ddwy long, ac fe bregethodd i'r bobl oeddynt ar y làn. Yr oedd y llongau yn o weigion y pryd hyny. Yr oedd y pysgodwyr wedi myned yn ddigalon iawn, ac wedi myned allan o'r llongau i olchi eu rhwydau; ac yr ydys yn gwybod na buasent yn golchi eu rhwydau ond pan y byddent yn bwriadu eu rhoddi heibio i gadw. Felly yr oedd hi ar y rhai hyn: yr oeddynt wedi meddwl ac yn trefnu i roddi eu rhwydau i gadw. Ond ar ol yr odfa, y mae yr Arglwydd Iesu yn dywedyd wrth Simon, am ymwthio i'r dyfnder, a bwrw ei rwyd am helfa y tu de i'r llong; ac yn union wedi cael y gorchymyn y mae Simon yn ateb, ac yn dywedyd, "O Feistr, er i ni boeni ar hyd y nos, ni ddaliasom ni ddim." Fel pe buasai yn dywedyd, Ni fuasai waeth i ni fod yn ein gwelyau drwy y nos na bod yn poeni ar hyd

y nos ar y llyn, ac heb ddal dim. Wel, meddai rhywun, Ni waeth i ti, Simon, ddyweyd ar unwaith na wnai di boeni ddim ychwaneg; dy fod wedi golchi dy rwyd, a'th fod am ei rhoddi i gadw. Na, meddai Simon, "ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd." Meddyliwn pe buasai yr holl wlad yn ceisio ganddo na buasai ddim yn gwneyd; eto, meddai, "ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd." Gan dy fod di yn Greawdwr pob peth, ac yn Llywodraethwr pob peth, a chan dy fod di yn gorchymyn, mi a fwriaf y rhwyd ar dy air.

Nid llawer ddarfu i neb aflwyddo wrth ddilyn gorchymyn Crist. Y mae yn troi yn lled dda y rhan amlaf pan ar lwybr ffydd ac ufudd-dod. Ar y rhai sydd yn sathru gorchymynion Duw dan eu traed y mae hi yn dyfod waethaf yn y pen draw, ond y mae yn dda bob amser yn y pen draw ar y rhai sydd yn ufuddhâu. Felly y pryd hyny, ar ol iddynt fwrw eu rhwydau dyna ddalfa fawr o bysgod. Nis gwn i ddim pa faint, ond dywedir i'r ddwy long gael eu llenwi. Wedi bod yn digaloni ar hyd y nos heb ddal dim, eto ar ol gwneyd yn ol gorchymyn yr Arglwydd Iesu, dyma eu rhwydau yn rhwygo, a digon o bysgod i lenwi y ddwy long.

Yr wyf yn meddwl dyweyd gair wrthych eto ynghylch helbulon y byd. Pa un bynag ai llwyddiant ai aflwyddiant a ddaw, fe ddaw helbulon. Os daw llwyddiant, ti gei ofid i'w ganlyn. Byd llawn o brofedigaethau ydyw yn ei lwyddiant a'i aflwyddiant. Yr wyf am sylwi ar rai pethau oddiwrth yr hanes yma. Mae'n debyg mai dyben yr Arglwydd Iesu yn y llwyddiant a'r aflwyddiant ydoedd, addasu ei ddysgyblion i'w gwneyd yn bregethwyr. Y mae pethau tebyg i hyn yn amgylchiadau achos crefydd. Y mae rhyw bethau tebyg yn ein dyddiau ni gyda chrefydd. Y mae yr efengyl yn cael ei galw yn rhwyd, a'r pregethwyr yn cael eu galw yn bysgodwyr; ac y mae yn amlwg mai y pysgod y mae a fyno yr efengyl â hwy, ydyw dynion.

Ac y mae dynion yn y byd yn debyg iawn i'r pysgod yn y môr. Y mae y pysgod yn y môr yn dair o raddau mewn maintioli, ac yn y fan lle y maent yn nofio; rhai yn isel, rhai yn y canol, a rhai yn uchel; rhai yn fawrion, rhai yn ganolig, a rhai yn fychain; ond y maent i gyd wrth eu bodd yn eu helfen. Y maent oll yn cartrefu yn dawel a boddlawn yn yr eigion mawr; ac nid oes yr un o honynt yn cwyno ar yr elfen y mae ynddi. Felly hefyd y mae dynolryw,—rhai yn foneddigion, a rhai yn isel, a rhai yn isel iawn; ond nid ydynt yn cwyno ar y môr mawr o lygredigaeth y maent ynddo. Ond fe drefnodd y Duw mawr rwyd, ac y mae a fyno y rhwyd â dal dynion; ac y mae y pysgodwyr i dynu y rhwyd, ac oni ddelir di sy'n gwrando yn rhwyd yr efengyl, ysgubir di gyda'r llif i'r môr marw. Ystyria mai gwirionedd a saif byth ydwyf yn ei ddywedyd. Y mae afon fawr o dy flaen, ac os äi unwaith iddi heb ddyfod i'r ddalfa yn rhwyd yr efengyl, ti a gludir gyda'r llif i'r môr marw; ac os äi unwaith yno, ni chlywi yr un pregethwr byth ar ol hyny. Ti fyddi yn yr afon na wyddost yn y byd pa mor ddwfn, ac os unwaith yr äi iddi fel yr wyt yn awr, ffarwel am danat am byth.

Am y rhwyd naturiol pan y mae yn dal pysgod, dal i'w dystrywio y mae, ond nid felly rhwyd yr efengyl. Os delir di yn rhwyd yr efengyl, bydd yn sicr o dy ladd i bechod, ond nid dy ddystrywio. "O Israel, ti a'th ddinystriaist dy hun, ond ynof fi y mae dy gymhorth," medd yr Arglwydd. Eto y mae lladd yn y rhwyd—ein lladd i ni ein hunain, ein lladd i bechod, ein lladd i'r byd a'i bethau; ond lladd i godi ac i gadw yn fyw fydd hyny. Dal i olchi, a dal i wisgo, a dal i godi ac i gadw y mae'r efengyl.

Yn awr mi a ddywedaf ychydig am amgylchiadau y pysgodwyr hyny, ac yr wyf yn meddwl y gall gweision Duw yn ein dyddiau ni ddywedyd eu profiad yn bur debyg iddynt. Y mae llawer o bethau ag oeddynt yn amgylch-

iadau y pysgodwyr hyny yn debyg i amgylchiadau gweision Crist yn ein dyddiau ni.

I. YR OEDD YN NOS ARNYNT AC YN DDIGON HELBULUS. Felly y mae hi yn awr ar weision Duw, pysgodwyr dynion. Y mae yn nos dywell arnynt. Y mae yn wir nad yw y nos Baganaidd ddim dros Gymru, na'r nos Fahometanaidd a'i pheryglon tost, na'r nos Babaidd ychwaith dros ein gwlad ni; eto y mae yn nos arnom ni. Y mae yn nos ddu o hyd ar yr annuwiol; ac onid ä hi yn ddydd cyn y diwedd, daw nos dragywyddol drosto. Y mae hi yn nos o hyd ar y byd; ac y mae yn nos weithiau ar weision Duw. Nid mor oleu ydyw ar feddyliau y rhai hyn yn fynych. Y mae cymaint o hen lygredigaethau yn glynu wrthynt, a chymaint o ôl y codwm arnynt, nes y mae mor helbulus arnynt, fel y mae yn nos rhyngddynt a gwenau gwyneb Duw.

Ond dyna oedd ar fy meddwl yn benaf, ei bod yn nos yn aml ar eglwys Dduw. Y mae cryn lawer o arwyddion ei bod yn nos ar yr eglwys yn y dyddiau hyn, a'i bod yn nos ar brofiadau llawer o bobl Dduw. Yn awr mi enwaf rai o'r arwyddion sydd i'w gweled yn amlwg, ac y mae profiadau llawer yn cyd-dystiolaethu â hwy, mai nos yw hi yn awr rhagor y bu yn y tymmor aeth heibio.

1. Un peth sydd yn canlyn nos naturiol yw, rhyw awelon ac oriau oeraidd iawn. Felly y mae hi yn y nos ysbrydol. Pa beth, medd rhyw un, sydd yn awelon y nos ysbrydol ar brofiad ac enaid y Cristion? Y mae yn oeraidd arno. Yn awr gofynaf i'r gwrandäwr, A yw dy galon mor gynhes ag y bu? A oes dim arwydd ei bod wedi nosi arnat, pan y mae mor oer ar dy brofiad? Bu mor gynhes arnat fel na allesit ddal fawr o ganiadau Sïon a geiriau grasol Mab Duw na byddai dy galon yn toddi o dy fewn, ond yn awr fe gaiff gweision Duw bregethu a chwysu heb effeithio fawr ar dy galon. Wedi myned yn nos y mae hi ar

dy enaid, onidê fe fyddai dy galon mor wresog ag erioed.

2. Bob amser i ganlyn y nos y mae y tywyllwch. Felly ar ol y dydd mwyaf goleu gyda chrefydd, y mae yn myned yn dywyll iawn yn y nos. Gallesit ddyweyd ambell dro yr amser aeth heibio ei bod mor oleu arnat fel y gallesit ddarllen dy enw yn llyfr y nefoedd, ac hefyd os dy ddaearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ti adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd. Ond y mae hi wedi myned yn dywyll arnat yn awr, mor dywyll fel pe bait yn marw na wyddit pa le bydd dy gartref. Dyna y gwir, y mae yn nos arnat. Gobeithio dy fod yn dechreu cwyno; fod y nos yn dechreu myned yn faich arnat. Nid yn yr haul y mae yr achos o'r nos, a bendigedig am hyny, onidê ni buasai gobaith y gwelsem ni oleuni dydd byth. Ynom ni y mae yr achos o'r tywyllwch.

3. Y mae ar lawer ofn garw yn y nos. Nid yw y teithiwr cryfaf ddim yn hoffi teithio llawer yn y nos. Dyna beth fydd genym ni yn y *society*,—holi profiadau ein gilydd, ac annog a chyfarwyddo ein gilydd; a phan y byddwn yn myned i dŷ yr Arglwydd, byddwn yn adrodd daioni yr Arglwydd i ni. Ond yn awr, dyma a ddywedir yn aml, "Y mae arnaf ofn mai rhagrith sydd genyf i gyd; ac os deil y tipyn crefydd sydd genyf hyd yfory, mai yna y derfydd y cyfan." Felly y mae pobl y nos yn aml, fel y bum fy hun, yn ceisio hel fy egwyddorion ynghyd er gallu credu fod yr Arglwydd yn medru cadw rhag niwed yn y nos fel yn y dydd; ond wedi y cwbl rhyw ofn sydd yn y nos. Felly y mae yn fynych yn ein cylchoedd crefyddol. Y mae egwyddorion crefydd genym, eto y mae rhyw ofnau yn bod. Yn y nos naturiol, un o ddau beth a chwalai oddiar feddwl y teithiwr yr holl ofnau:—

(1.) Cael cyfaill cryf a ffyddlawn i gyd-deithio âg ef. O frodyr! pe caem ni olwg eto ar ein Pen a'n Priod, a

phe caem ni gyd-deithio yn ei gyfeillach ef, diflanai yr ofnau ar unwaith. Tawelai ein dychryn yn union. Am hyny llefwn am gael golwg newydd arno.

(2.) Y wawr yn agor a'r haul yn codi. Llwyr chwalai hyny ein holl ofnau. O na welem lewyrch yr haul!

4. Y mae rhai yn tramgwyddo yn ofnadwy yn y nos. Felly y dywedodd Crist, "Os rhodia neb y nos, efe a dramgwydda." Y mae llawer yn syrthio yn y nos. Felly peidiwch rhyfeddu os byddwch yn gweled ambell frawd neu chwaer yn syrthio, oblegid y nos yw hi. Clywir llawer yn dywedyd, 'Darfu i mi gwympo yn y nos; a rhwygais a llychwinais fy ngwisg, a briwais hefyd.' Wel, medd rhyw un, gallesit fyned yn bur hawdd y ffordd hono; ffordd hawdd oedd hi. Wel, ïe, gallesit tithau ateb, ond nos oedd hi; nis gallwn weled dim dan fy nhraed; a gwae fi oedd ceisio ei theithio. Pa faint o honoch chwithau all ddywedyd yr un peth? Rhyfedd, medd ambell un, mor ddiogel a dedwydd yr oeddwn yn gallu cerdded pan oedd yn oleuni dydd, a'm hesgeiriau yn ogyhyd; ond yn awr yr wyf yn gloff, a'm gwisg yn ddu, ac y mae rhywbeth rhyfedd wedi dyfod arnaf. Y mae rhai yn cael codymau yn y byd na fedrant osgoi eu niweidiau drwy eu holl oes; a rhyfedd os gwelir hwynt ar ol myned oddiyma heb olion y codymau arnynt. A oes yma neb yn barod i ddywedyd, 'Rhyfedd fy mod yn fyw ar ol cael y fath godymau?' O fe fydd rhyw ganu melus rhyfedd yn yr adgyfodiad, pan y byddi heb ôl yr un codwm arnat, a'th wisg yn wèn, a phob cymmal ac aelod yn ei le.

Y mae yn nos ar y duwiol yn o aml, ond y mae yn nos ar yr annuwiol o hyd bob amser. Ond gwylia rhag i ti fyned i'r afon yn y nos. Gwell i'r annuwiol ddechreu gwylio rhag iddo fyned i'r afon yn y nos; ac hefyd dylai y duwiol wylio. Er fod cyfammod ei Dduw yn sicr, gallai fyned i'r glỳn yn y nos. Gweddïa, enaid, am ei chael yn

ddydd. Bydd yn ddychrynllyd iawn, os byddi yn myned i'r glŷn yn y nos: dy draed yn oeri, a'th waed yn fferu, a'r nos rhyngot a gwedd wyneb Duw. Ymbiliwn am iddi fyned yn ddydd arnom cyn y byddwn yn wynebu y glŷn. Nis gall y duwiol orphen ei yrfa mewn llawenydd os bydd yn nos arno. Y mae fel pe byddai rhywun yn anturio i'r cefnfor garw, heb na llyw na hwyl na mast na chwmpas. Ni ŵyr yn y byd pa le y bydd yn glanio. Felly y mae yn ddyrys iawn wrth wynebu y glŷn a'r afon yn y nos. Llefwn am oleuni rhyngom a'r nefoedd. Darfydded y nos cyn y byddwn yn wynebu y glŷn.

5. Y mae cysgadrwydd hefyd yn arwydd o'r nos. Yr ydys yn pendrymu ac yn hepian. Gallasem enwi amryw bethau eraill; ond,

II. Nid yn unig yr oedd hi yn nos ar y pysgodwyr hyny, ond hefyd YR OEDDYNT ALLAN YN Y NOS. Nid yn eu hanneddau, mewn lleoedd clyd, tawel, ond allan. Da genyf finnau ddywedyd yma heddyw, fod y gweision allan er ei bod hi yn nos. Y mae pysgodwyr yr Iesu heb fyned i gadw noswyl eto. Er ei bod yn nos y mae rhywrai yn cael nerth i sefyll allan drwy y cwbl. Chwi a gredwch am y rhai sydd allan eu bod yn agored i lawer o ddryghin. Felly yr oedd hi ar y pysgodwyr hyny; yr oeddynt yn aros allan doed yr hyn a ddelai i'w cyfarfod; y gwynt a'r gwlaw a'r mellt a'r taranau, yr oeddynt allan ymhob tywydd. Felly y mae gweision Duw wedi bod o hyd allan, allan yn fwy na neb; ac y mae llawer iawn o ystormydd yn eu cyfarfod o'r byd ac o uffern. Y maent fel y gwylwyr, a'r llongwyr a'r pysgodwyr ar y môr, yn agored i bob tywydd.

III. YR OEDDYNT YN YMBOENI AR HYD Y NOS. Y mae rhai yn meddwl ei bod hi yn fyd rhyfedd o esmwyth ar bysgodwyr Iesu Grist yn awr. Yr ydys yn meddwl fod rhyw fyd boneddigaidd arnynt. Ond pe baet ti yn gwybod am eu pryder a'u profiad lawer diwrnod, newidit dy farn

a'th feddwl am danynt. Y maent yn debyg iawn i'r pysgodwyr hyny yn ymboeni ar hyd y nos. Hwyrach pan y byddi di yn cysgu yn dawel yn dy wely heno, y bydd rhywun yn ymboeni drwy'r nos, pa beth a gaiff ef ddywedyd wrthyt y Sabboth nesaf. Ocheneidiwch tua'r làn ar ran gweision Duw, y rhai ydynt allan yn y nos, ac yn ymboeni gyda'r gwaith. Cofiwch am danynt wrth orsedd gras.

IV. Dyna beth arall oedd ar y pysgodwyr hyny ag oedd yn gwneyd eu tywydd yn galed a'u poen yn fawr,—YR OEDDYNT HEB DDAL DIM. Yr oeddynt allan ar hyd y nos ac yn ymboeni ar hyd y nos, ond heb ddal dim. Felly y mae yn fynych ar weision Duw eto. Ar ol chwysu yn yr odfa wrth geisio bwrw y rhwyd, wedi'r cyfan yn gorfod ildio heb ddal dim. Dyna deimlad trymaf eu calon, eu bod heb ddal dim. Dyma dyrfa fawr yma heno. Ai tybed yr ewch i gyd oddiyma heb i neb gael ei ddal yn rhwyd yr efengyl? Dyrchefwch floedd i'r nefoedd am ddalfa. Y genadwri a lwyddo nes dyrysu pechaduriaid ar y ffordd lydan tua dystryw, y rhai sydd yn myned ar i waered tuag uffern er pob doniau a phob moddion. Dyna y mae'r gweision yn orfod ddywedyd yn niwedd llawer diwrnod, ac ar ol llawer odfa, "Pwy a gredodd i'n hymadrodd, ac i bwy y dadguddiwyd braich yr Arglwydd?" A ydych chwi yma yn foddlawn i ni ymboeni ar hyd y nos, ac heb ddal dim? Cynnorthwywch ni i gael dalfa.

V. Y mae un peth melus yn niwedd yr hanes; er ei bod yn nos arnynt, ac er eu bod wedi poeni ar hyd y nos, ac er eu bod heb ddal dim, er hyny NID OEDD YR IESU DDIM YMHELL ODDIWRTHYNT. Er ei bod yn nos, ni roddwn ninnau ddim i fyny; nid yw'r Iesu ddim ymhell. Y mae ei glustiau yn agored i weddïau ei weision. Anadlwch tua'r làn i edrych a ddaw i'r golwg. Nid ydyw wedi ymadael o'r wlad, nac wedi cefnu ar ei gysegr yn

llwyr, er mor helbulus a siomedig ydyw. A phan ddêl efe, dyna bob peth yn dawel. Yr amser y daeth ef atynt oedd yn y bore. Felly pe caem ninnau olwg arno, fe chwalai y niwl a'r ofnau ar unwaith. Hefyd pan y daeth yr Iesu i'r golwg, dacw lïaws yn y ddalfa. Dacw dyrfa fawr oedd yn chware yn yr eigion a'r pysgodwyr wedi methu yn lân a'u dal; ond gyda dyfodiad Iesu, dacw lïaws mawr yn y rhwyd wedi eu dal. Gweddïwch am i'r Iesu ddyfod eto gyda'i weision. Er y doniau goreu, os na ddaw efe bydd y cwbl yn aneffeithiol. Eithr ond iddo ef ddyfod fe fydd dalfa o bechaduriaid. Yr oedd hi yn hynod o ddigalon ar y Simon hwnw ar ddydd y Pentecost. Yr oedd yno filoedd wedi dyfod at eu gilydd, ond yr oeddynt yn hynod o galon-galed; ac yr oedd yr erlidwyr yn goganu ac yn haeru fod y pregethwyr wedi meddwi. Ni waeth i ti, Simon, heb dynu dy rwyd yn y fan yna. Na, "ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd." Wel, y maent yn galed a gwyllt iawn, ac y mae yn dywyll iawn ar dy ochr di, i feddwl am lwyddo. Wel, y mae genyf orchymyn fy Meistr i fwrw y rhwyd. Ac er mor greulon oeddynt, dacw Simon yn dechreu pregethu Crist wedi ei groeshoelio iddynt; a chyda ei fod ef yn dechreu pregethu, y mae y Gŵr ei hun yn ymddangos; ac yn y fan dyna dair mil yn gwaeddi, "Pa beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig?" Beth oedd y mater arnynt? Wedi eu dal yr oeddynt. Gwyn fyd ped ymddangosai felly eto! Hi fyddai yn fyd braf iawn yn y capel newydd yma, ond cael Iesu i ymddangos gyda'i weision. Fe fyddai y bobl ieuainc wrth y degau wedi eu dal a'u dofi; ac fe fyddai yr hen bobl sydd â'u penau yn gwynu, yn methu myned ymlaen ar hyd y ffordd lydan. Gweddïwch am i'r Iesu ddyfod i'r golwg.

Y mae yma air arall: "A'u rhwyd hwynt a rwygodd." Ond ni rwyga rhwyd yr efengyl. Y mae dalfa i fod.

Er fod pechaduriaid yn wylltion iawn, y mae dalfa i fod. Pa fodd y gwyddoch chwi hyny? Wel, onid oes cyfammod wedi bod? Onid oes ymrwymo wedi bod? Oni ddaliwyd yr Iesu ar noswaith oer? Oni chariodd ef ei groes? Oni rifwyd arno ef bechodau tyrfa ddirif? Ac oni waeddodd ef cyn marw, "Gorphenwyd?" Mor wir a hyny, y mae tyrfa ddirif i gael eu dal i'w gwneyd yn gadwedig dragywyddol. Fe fydd y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref. Fe ddaw teyrnasoedd y ddaear yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef. Fe rwygodd eu rhwyd hwynt; ond y mae genym ni rwyd na rwyga byth. Y mae wedi cael ei gweithio yn ofalus o breseb Bethlehem i ben bryn Calfaria; ac er cymaint a ddaliwyd, ac a ddelir eto, ni thorir byth y rhwyd. Fe ddelir myrddiynau, ond deil y rhwyd. Ni chollir neb o honi. Y mae yn sicr o gyrchu adref y rhai a fyddant ynddi. Ymwthiwn i rwyd yr efengyl.

"Mae 'r moddion a'r dybenion
  Mewn cwlwm sicr iawn;
'D oes modd fod gwell sefydliad—
  Mae 'n ddoeth o ras yn llawn:
Prif ddyben ethol ydoedd
  Dyrchafu gras fy Nuw,
Ac wrth wneyd hyny, achub
  Myrddiynau o ddynolryw."

# PREGETH XLVI.

## HAUL CYFIAWNDER.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. EVAN FOULK, LLANUWCHLLYN.*

*Yn y Capel Newydd, Llanbrynmair, yn Mai, 1819.*

MALACHI iv. 2: "Ond Haul Cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw, â meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan, ac a gynnyddwch megys lloi pasgedig."

MALACHI oedd y diweddaf o'r prophwydi. Tri prophwyd a gododd yr Arglwydd ar ol dychweliad y gaethglud o Babilon, hyd ddyfodiad y Messiah, sef Haggai, Zechariah, a Malachi. Fe godwyd y ddau gyntaf yn fuan ar ol y dychweliad o Babilon, i roddi blys yn y bobl i

* Nid oes genym ond ychydig i'w ddyweyd am EVAN FOULK, Llanuwchllyn, ond hyny a welsom gan gofiantydd D. Rolant. Ymddengys ei fod yn dduwinydd da, yn bregethwr rhagorol, fel y gwelir oddiwrth y bregeth hon o'i eiddo, ac yr oedd yn weddïwr anghyffredin. Pan ar daith yn y Deheudir yr oeddynt yn gorfod myned trwy afon chwyddedig, a D. Rolant wedi myned yn bur ddigalon wrth deimlo ei hun mor wlyb; ond pan aeth Evan Foulk i'r pulpud efe a roddes y pennill canlynol i'w ganu yn gyntaf peth:—

"Wel dyma hwy 'r gadwedig hil
A gadwyd ar y llwybr cul,
Trwy fôr o wae, trwy storm o wynt,
Y buont hwy yn teithio gynt."

Teimlai D. Rolant ei hun, meddai efe, yn cael ei gynhesu drwyddo nes yr anghofiodd yn gwbl ei fod yn wlyb, ac ni chollodd y teimlad siriol hwnw tra parhäodd yr odfa. Meibion iddo ef oedd y Parchn. Foulk Evans a Robert Evans.

adeiladu yr ail deml; ond yr oedd Malachi yn ddiweddarach, mewn adeg pan yr oedd yn isel iawn ar wir grefydd. Yr oedd achos yr Arglwydd wedi myned yn isel iawn ei ben. Nid oedd y bobl yn gofalu dim am fywyd a chymeriad crefyddol; ond yr oeddynt yn cymeryd y dall a'r clwyfus yn aberthau i'r Arglwydd. Ni chysegrent byth y goreu iddo, dim ond rhywbeth nad oedd o werth i ddim arall. Hefyd yr oedd blaenoriaid y genedl wedi myned yn llygredig iawn. Y blaenoriaid yn y dyddiau hyny oeddynt o lwyth Lefi. Ond er yr holl ddirywiad yr oedd gan yr Arglwydd ychydig yn ngweddill yn eu mysg yn ofni ei enw. "Yna y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd a lefarasant bob un wrth ei gymydog; a'r Arglwydd a wrandawodd ac a glybu, ac ysgrifenwyd llyfr coffadwriaeth ger ei fron ef i'r rhai oedd yn ofni yr Arglwydd ac i'r rhai oedd yn meddwl am ei enw ef. A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwelwyf briodoledd. Arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gŵr ei fab sydd yn ei wasanaethu;" hyny yw, mi a'i harbedaf ef pan y bydd y farn yn disgyn ar y genedl yn gyffredinol: ac "yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef." Gyda hyny y mae y bennod hon yn dechreu. Y mae yn y geiriau blaenaf o honi fygythiad,—"Canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megys ffwrn, a'r holl feilchion, a holl weithredwyr anwiredd, a fyddant sofl; a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, medd Arglwydd y lluoedd, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Y mae y geiriau yn cynnwys bygythiad o'r farn a'r dinystr a ddeuai ar y genedl Iuddewig; yr hon a ddaeth ymhen oddeutu deugain mlynedd ar ol esgyniad Crist. Y mae yr Arglwydd yn arfer rhybuddio cyn taro. Nid yw byth yn taro yn ddirybudd. Rhybuddiwyd yr hen fyd ugain mlynedd a chant cyn i'r farn ddisgyn arnynt; ond yr oedd y rhybuddio yn eu golwg

fel cellwair. Ac yr ydym ninnau wedi cael llawer rhybudd gan yr Arglwydd. Bu yn ein bygwth â rhyfeloedd, a bu yn ein bygwth â newyn trwy dori ffon ein bara; ond yn lle ein taro i lawr, ein harbed a wnaeth; ond cymerwn rybudd, gwyliwn a gochelwn rhag mai'r diwedd fydd dryllio fel na byddo meddyginiaeth.

"Ond Haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw, â meddyginiaeth yn ei esgyll." Yn gysylltiedig â'r cyhoeddiad o'r barnau mwyaf, cyhoeddir yr addewid fwyaf gwerthfawr; ac felly pan y bydd y nos yn dechreu tywyllu ar yr annuwiol, bydd yn dechreu dyddhâu ar y duwiol; ac fel y bydd yn tywyllu fwyfwy ar yr annuwiol, hi a lewyrcha fwyfwy ar y duwiol; a phan elo hi yn nos dragywyddol ar yr annuwiol, hi a fydd yn ddydd na dderfydd ar y duwiol. "Haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw."

Y mae y geiriau hyn yn cynnwys addewid o Grist dan yr enw "Haul"—"Haul cyfiawnder." Addewid o ymddangosiad Crist yn y cnawd ydyw. Prophwydoliaeth yn golygu dyfodiad Crist i'r byd ydyw; ac nid yn unig y byddai iddo ymddangos yn y cnawd, ond hefyd y byddai iddo godi ei deyrnas i fyny yn y byd mewn modd mwy amlwg nag erioed o'r blaen.

"I chwi y rhai ydych yn ofni fy enw." Os ydych yn amddifaid o'r gras hwn, o ofni yr Arglwydd, annuwiolion ydych. Un o nodau yr annuwiolion ydyw eu bod heb ofn Duw. Gras ydyw ag sydd yn cael ei gynnyg a'i gymeradwyo i bechadur; ac fe dâl i bechadur fyned at yr Arglwydd i ofyn am ras i ofni ei enw; canys "Haul Cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw."

Y mae y prophwyd yma yn gosod allan yr Arglwydd Iesu dan yr enw "Haul Cyfiawnder." Y mae llawer o enwau yn cael eu rhoddi ar Iesu yn yr Ysgrythyrau, ond nid oes yr un enw gwag wedi cael ei roddi arno gan yr

Ysbryd Glân. Y mae yn llon'd ei enwau i gyd. Y mae yn llon'd pob teitl a roddwyd iddo; ac y mae arnom ninnau hefyd ei eisieu yn ei holl deitlau a'i holl enwau. Y mae yn Fugail; ac onid oes arnom ninnau eisieu Bugail? Oblegid yr ydym yn dueddol iawn i grwydro; a chan ein bod mor grwydredig, y mae'n dda i ni ei gael fel bugail; a bugail da tyner ydyw. Haul ydyw, ac y mae arnom ni ei eisieu fel haul. Tywyll ydym ni, gan hyny y mae yn werthfawr i ni ei gael fel ffynnon goleuni. Y mae yr enw "Haul" yn gosod allan fawredd a gogoniant yr Arglwydd Iesu. Y mae yr Haul wedi ei wneuthur i oleuo y dydd; ac y mae ganddo gylch a llywodraeth mor fawr fel nad ydyw yn bosibl gwneuthur dim hebddo; ac nid oes dim a oleua wyneb y ddaear nes delo yr haul. Yr oedd yr enwog Charnock yn arfer dywedyd i Dduw wneuthur y goleuni y dydd cyntaf, ond mai yn y pedwerydd dydd y gwnaeth efe yr haul. Beth oedd y goleuni hwnw cyn yr haul, anhawdd dywedyd; ond gwyddom ni yn awr ei fod wedi creu yr haul i fod yn ffynnon goleuni i ni. Felly beth bynag sydd yn Nuw yn ei dragywyddol ewyllys da tuag at bechaduriaid gwael, y mae y cwbl wedi ei grynhoi i ni mewn Cyfryngwr, yn Iesu Grist, Haul cyfiawnder. "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef."

Y mae rhyw ddarfod a threulio ymhob goleuni ond goleuni yr haul; ond y mae yr haul mor danbaid a digoll yn awr ag ydoedd ar y cyntaf; felly am Haul Cyfiawnder—y mae mor ddiball ei oleuni ag erioed, er ei fod wedi cyfranu goleuni am filoedd o flynyddau. Hefyd yr haul sydd yn gwneuthur y dydd a'r nos, ac hefyd yn gwneuthur y tymmorau; ac yn peri i bob blodeuyn flodeuo, ac i bob glaswelltyn flaendarddu; ac y mae lliaws mawr o flodau yn ymddangos ag nad ydynt yn foddlawn i ddangos eu gwynebau i ddim ond i'r haul. Felly am y gras sydd o roddiad

yr Arglwydd yn yr enaid, ni pherarogla ond yn ngoleuni Haul·Cyfiawnder. Pan delo y Brenin at y bwrdd, nardus yr enaid duwiol a rydd ei arogl. "Haul Cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw."

Y mae yn amlwg fod y geiriau yn addewid i'r eglwys Iuddewig o ymddangosiad Crist yn y cnawd. Pobl heb weled y dydd oedd eglwys yr hen oesoedd dan yr hen oruchwyliaeth. Pobl yn y nos oeddynt; ond yr oeddynt yn llygadu hefyd am ddydd Crist. Yr oeddynt yn dysgwyl hyd oni wawriai y dydd a chilio o'r cysgodau. "Tebyg yw fy anwylyd i iwrch neu lwdn hydd; wele ef yn sefyll y tu ol i'r pared, yn edrych trwy y ffenestri, yn ymddangos trwy y dellt: hyd oni wawrio y dydd a chilio o'r cysgodau: tro, bydd debyg, fy anwylyd, i iwrch neu lwdn hydd yn mynyddoedd Bether." "Chwennychodd llawer o brophwydi a rhai cyfiawn weled y pethau a welwch chwi ac nis gwelsant, a chlywed yr hyn a glywch chwi ac nis clywsant." "Abraham a welodd fy nydd i ac a lawenychodd;" neu mewn geiriau eraill, fe lamodd yn ei le o lawenydd. Beth oedd yr achos o'i lawenydd? Gweled yr oedd ddyfodiad y Messïah yn y cnawd.

"Haul y Cyfiawnder a gyfyd—a gyfyd i chwi." Arwydda hyny ei fod wedi bod yn isel iawn. Bu dan ei fachludiad yn isel iawn. "Efe a'i darostyngodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas; a bu yn ufudd a darostyngedig hyd angeu, ïe angeu y groes." Cam isel oedd iddo ddyfod i'r groth, a chymeryd ein natur ni, a dyfod i'r byd i oddef gwarth ac erlid. Bu y genedl Iuddewig yn meddwl ac yn ymholi llawer am dano; ond pan y daeth, yr oeddynt yn ffaelu ei ffeindio, ac fe'i gwthiwyd ganddynt o'r neilldu fel maen diddefnydd, heb feddwl y byddai i neb ei godi byth. Fe'i bwriwyd dan y dirmyg a'r gwarth a'r poeredd mwyaf, dan y dybiaeth na byddai i neb ei godi byth; ond er mor isel yr aeth, i fyny y daeth ef, ac i fyny uwch uwch

yr ä ef. Pan yr oedd yn dyfod i fyny o'r bedd, yr oedd yn anmhosibl ei gadw yno. Llyncodd angeu mewn buddugoliaeth. Daeth i fyny o'r bedd yn orchfygwr ar angeu, ac yn arglwydd ar y bedd. Eglurodd ei fod yn Fab Duw drwy ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. Ymddangosodd i'w ddysgyblion lawer gwaith ar ol ei adgyfodiad; ac yn y diwedd esgynodd yn eu gŵydd mewn cwmwl goleu i fyny i'w ogoniant. Gŵr a ddaeth i fyny, ac a ddaw i fyny ydyw. Gŵr i gael ei dderchafu ydyw. "Hwn a dderchafodd Duw â'i ddeheulaw yn Dywysog ac yn Iachawdwr." "Ac addoled holl angylion Duw ef." "Yr hwn a dderbyniodd gan yr Arglwydd barch a gogoniant, pan y daeth y cyfryw lef o'r nef, Tydi yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." "Haul Cyfiawnder a gyfyd i chwi."

Y mae y geiriau hyn yn arwyddo hefyd y bydd i Iesu godi ei deyrnas i fyny yn y byd mewn modd mwy cyffredinol ac amlwg yn y dyddiau diweddaf nag y bu dan yr hen oruchwyliaeth. Y mae gan Fab Duw ei deyrnas yn y byd, ac y mae ganddo ei ddeiliaid yn ei deyrnas. Y mae ganddo bobl ag ydynt wedi cael eu dwyn yn ddeiliaid cyfammodol iddo; a chânt eu harddel ganddo pan y delo ar gymylau y nef. Y mae yn anghenrheidiol, os wyt ti am etifeddu teyrnas y gogoniant, i ti ddyfod yn ddeiliad o deyrnas ei ras ar y ddaear, a phlygu i lywodraeth ei ras. Os ydwyt ti am gael bod yn perthyn iddo, y mae yn rhaid i ti ei briodi ymhob peth ag sydd yn perthyn iddo,—yn ei achos, a'i bobl, a'i waith. Yr oedd dewis ei ddirmyg a'i waradwydd a'i groes yn fwy o fraint gan Moses na choron a gorsedd a holl drysorau yr Aipht. A teyrnas Iesu yn fynydd mawr, mwy na holl fynyddau y byd, ac a leinw yr holl ddaear. Brysied yr amser!

"Haul Cyfiawnder a gyfyd i chwi;" a gyfyd er pob gwrthwynebiadau. Daw i fyny er gwaethaf pawb a phob peth; daw i fyny â "meddyginiaeth yn ei esgyll." Y mae

yr ymadrodd yma yn arwyddo y buddioldeb a'r llesâd a'r feddyginiaeth y mae yr efengyl yn ei wneyd ar enaid y credadyn. Y mae cyflwr enaid wrth natur yn aflan, afiach, ac andwyol; ond y mae meddyginiaeth yn ei esgyll. "Onid oes driagl yn Gilead? Onid oes yno physygwr?" Y mae yn drueni meddwl am i neb farw yn ein gwlad pan y mae meddyginiaeth i'w chael. Y mae yn drueni, enaid, dy fod yn cyflymu tua'r farn fawr yn anmharod, a Christ yn cael ei ddyrchafu o'th flaen yn yr efengyl ar y drostan fawr, ac yn y wlad lle y mae miloedd yn cael eu glanhâu a'u hiachâu a'u hachub. Crist yw y meddyg da. Ni roddodd neb erioed i fyny. Y mae yn gallu gwella pob clefyd a phob afiechyd. Y mae meddyginiaeth yn ei esgyll.

"A chwi a ewch allan." Allan o'r maes ac o'r nos gysgodol a seremonïol a'r holl ddefodau Iuddewig, ac at Grist, diwedd yr holl gysgodau i gyd. Ni bydd fawr o lun ar enaid nes ei weithio allan o hono ei hun; ond os gweithir di allan o honot dy hun, cei dy iachâu a'th ymgeleddu. Chwi "a ewch i mewn ac allan ac a gewch borfa." I mewn i ba le? I'r noddfa, i undeb â Mab Duw fel yr unig ddiangfa, a'r unig Geidwad i droi dy wyneb ato am iachawdwriaeth; ac yn ganlynol, allan o honot dy hun ac o'r pethau sydd yn dy attal oddiwrth yr Hwn y mae dy fywyd ynddo. Y peth mwyaf niweidiol o bob peth ydyw rhith grefydda. Myned allan o'r twyll a'r rhagrith, a throi dy wyneb at Haul cyfiawnder lle y cai feddyginiaeth. Yna ti gai borfa frâs, cai wledd a modd i fyw, a chroesaw i'r afradlawn gael o'r llo pasgedig. Ac wedi myned felly allan, chwi "a gynnyddwch fel lloi pasgedig." Y modd y maent yn cynnyddu yw trwy ymborthi ar ddidwyll laeth y gair. Dyma'r ffordd i ti gynnyddu, trwy sugno o laeth yr iachawdwriaeth. Creaduriaid yn cael eu cadw yn glòs iawn ydyw y lloi yn eu

cut; felly yr wyt tithau pan y bydd yn dy fynwes flŷs gwaeddi, Amen a Gogoniant. Go oer ydyw yn bresennol. Lloi yn y cut yw llawer yn bresennol. Y maent wedi eu cau o fewn y terfyn. Y mae rhyw gryndod, rhyw arswyd, rhyw fraw o hyd; ond daw yr adeg y deui allan o'r terfynau culion; fe ddaw yr adeg y cai ddywedyd yn fwy clir am dy Waredwr a dy iachawdwriaeth, a hyny i dragywyddoldeb. Tra y byddost dipyn yma ar y ddaear, glŷn i sugno wrth fronau yr iachawdwriaeth.

"Haul hyfryd yw i'm henaid gwan,
Sy 'n rhoddi 'r grasau i darddu i'r lan;
Mae 'm hysbryd egwan wrth ei fodd
Pan tywyno 'i lewyrch arna i 'n rhodd."

# PREGETH XLVII.

## GWNEUTHUR YN IACH.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. DANIEL JONES, LLANLLECHID.*

*Mewn Cymdeithasfa yn Llanidloes, Ebrill 18, 19, 1822.*

IOAN v. 6: "Yr Iesu pan welodd hwn yn gorwedd, a gwybod ei fod ef felly yn hir o amser bellach, a ddywedodd wrtho, A fyni di dy wneuthur yn iach?"

CAFODD y geiriau hyn eu llefaru wrth y claf ar làn llyn Bethesda. Byddai llawer o rai cleifion yn ymgasglu i làn y llyn hwnw, er dysgwyl am gynhyrfiad y dwfr; oblegid byddai angel ar amserau yn disgyn i'r llyn ac yn cynhyrfu y dwfr; "a'r hwn a elai i mewn gyntaf ar ol cynhyrfiad y dwfr a äi yn iach, o ba glefyd bynag y byddai." Yr oedd y claf hwn wedi bod yn gorwedd yno

* Mab ydoedd y Parch. DANIEL JONES i John a Gwen Jones o'r Maes Mawr, yn mhlwyf Bangor. Ganwyd ef yn Mehefin 1780, a chafodd ei argyhoeddi drwy weinidogaeth John Elias. Mab y daran ydoedd, a gwnai ei gartref wrth droed mynydd Sinai yn wastad, beth bynag fyddai ei destun. Saer ydoedd wrth ei alwedigaeth, a gweithiai yn ei flynyddoedd cyntaf yn chwarel Cae-braich-y-cafn. Elai bob wythnos am flynyddau dros y mynydd ar ol noswylio i ardal Llanddeiniolen i dai annedd i bregethu, pryd nad oedd capel yn y fro, yr hon erbyn hyn sydd yn llawn o dai addoliad heirdd ac ëang gan bob enwad. Yn ol barn gydwybodol pawb a'i hadwaenai, bu yn foddion i achub mwy o bechaduriaid na neb yn ei oes. Y gwirioneddau a draethid yn ddieffaith gan lawer o'i frodyr a leferid ganddo ef gyda dylanwad nerthol. Cyffroai ei edrychiad a'i eiriau y gynnulleidfa; galwai sylw pawb; taflai ddychryn i bob mynwes trwy ddarlunio yr annuwiol fel un yn llithro dros y graig, a thrwy ddyweyd, "Lanciau

er ys hir amser bellach. Y mae yn drwm iawn genym feddwl am y rhai sydd yn ymyl moddion gras er ys hir hir amser, ond eto heb dderbyn gwellhâd. Diau y byddai yn drwm iawn ar y claf hwn pan fyddai y bobl yn gofyn iddo, A gefaist ti ddim iachâd eto? Ac yntau yn gorfod ateb, Naddo. Da genym feddwl am y bobl sydd yn cyrchu i'r moddion yn rheolaidd bob amser, ond nid ydyw hyny yn ddigon. "Yr Iesu, pan welodd hwn yn gorwedd yno." Y mae yr Iesu yn gweled pob peth. Y mae yn gweled y rhai sydd yn dyfod i'r moddion, ond heb gael iachâd erioed. "Pan welodd hwn yn gorwedd, a gwybod ei fod ef felly yn hir o amser bellach." Nid ydym yn gwybod fod yno neb wedi bod cyhyd a hwn. Yn adeg cynhyrfiad y llŷn yr oedd y dynion yn neidio i mewn am y cyntaf. Nid ydym yn deall y byddai neb yn myned i mewn pan fyddai y llŷn yn llonydd. Yr un pethau ag oeddynt ychydig amser yn ol yn cwympo dynion i'r llawr, nid ydynt yn awr yn effeithio dim arnynt; nid ydynt yn mendio mo honynt. Y mae lle i ofni fod y llŷn yn llonydd y dyddiau hyn. Y mae yr odfeuon yn myned heibio, a'r moddion o ras yn pasio, heb ddim yn gafaelu ar galonau. Ni bydd hi ddim yn ddystaw yn yr amser y bydd y gair

bach! fechgyn anwyl! y mae mis y dal yn ymyl." Gwefreiddiai ugeiniau a channoedd ar unwaith mewn Cymanfäoedd, &c., ac nid oedd neb yn ammheu nad oedd yr hyn a ddywedai yn dyfod o waelod ei galon. Ni chlywsom destynau gan neb yr un fath ag ef—rhai cyffrous bob amser. Dyma rai a glywsom: "Dos trwy ganol y ddinas, trwy ganol Jerusalem." "Beth yw yr us wrth y gwenith?" "Y dywysen ni wna flawd." "Y mae yn brâf i feddwi a thori Sabboth," meddai y bachgen. "Ydyw, fy machgen anwyl i, ond 'does yna ddim blawd ynddi: hau gwynt a medi corwynt y mae cannoedd." Buom yn yr un eglwys ag ef yn Nghaernarfon yn mlynyddoedd olaf ei oes. Yn y dref hono y bu efe farw mewn tangnefedd, yn mis Mawrth 1852. Y mae y bregeth ganlynol, yn gystal a dim a welsom, yn ddarlun o'i ddull yn pregethu. Teithiodd gymaint a neb yn ei oes, trwy Ogledd a Deheudir Cymru; ac nid oes gan y wlad yr un DANIEL JONES yn awr, ac hwyrach mai un oedd i fod.

yn cyrhaedd calonau. Ond y mae'n dda iawn genym ddyweyd fod drws trugaredd heb ei gau; y mae yn agored heddyw o lêd y pen. Peth trwm iawn yw bod am yspaid hir mewn tref neu ardal heb fod neb yn cael ei aileni. Yn ol y golwg sydd genyf fi am lawer o fanau, y mae mwy yn ail farw ynddynt nag sydd yn cael eu haileni. Mewn llawer man y mae angeu yn gwneyd gwaith difrifol ar ddynion cryfion; a'r rhai hyny heb fod ynddynt fawr o arwyddion duwioldeb. Pan welodd Iesu y claf hwn yn gorwedd. Hawdd y gallasai rhyw un ddywedyd wrtho, 'Saf ar dy draed.' 'Na,' fuasai ei ateb, 'yr wyf yn rhy sâl.' 'Yr wyt yma er ys cymaint o flynyddoedd, sâf bellach ar dy draed.' 'Na, y mae'r clefyd yn drwm iawn, nis gallaf.' "Yr Iesu pan welodd hwn yn gorwedd, ac yn gwybod ei fod ef felly yn hir o amser bellach, a ddywedodd wrtho, A fyni di dy wneuthur yn iach?" "Nid oes genyf ddyn i'm bwrw i'r llŷn," meddai yntau; "tra y byddwyf fi yn dyfod, arall a ddisgyn o'm blaen i." Nid adwaenai y claf mo'r Person bendigedig oedd yn ymddyddan âg ef. Peth rhyfedd iawn oedd ei weled yn myned adref â'i wely ar ei gefn. Iachawdwriaeth gyflawn, rad, ddigonol, ydyw iachawdwriaeth Duw.

Iachâi y llŷn hwnw y claf o ba glefyd bynag y byddai. Y mae rhai yn glaf o glefydau ag y dywedir na fendiwyd neb o honynt erioed; ond gall yr Iesu iachâu pechadur o ba glefyd bynag fyddo arno. Y mae modd cael iachâd tragywyddol trwy yr iachawdwriaeth sydd yn Iesu Grist.

Enwaf rai pethau ag sydd yn dangos mawredd clefyd bob amser. Yr ydym ni bawb wrth natur wedi cael clefyd angeuol. Ni welsom neb erioed na chafodd y clefyd mawr ddaeth o Eden. Nid oes neb cyfiawn, neb iach, nac oes un. A ydyw ef yn glefyd trwm, peryglus? Ydyw, ofnadwy! Pan y byddo clefyd wedi dechreu tori allan mewn tref neu ardal, dau beth sydd yn aml yn cael eu gofyn,

A ydyw yn cyrhaedd pawb? ac a ydyw yn lladd? Un felly yw y clefyd a gawsom ni.

1. Y mae wedi cyrhaedd ein holl deulu. Y mae yn glefyd sydd wedi cyrhaedd pawb. Cyrhaeddodd bob dyn ymhob man. Nid oes neb cyfiawn, neb yn iach; nac oes un. Y mae yr haint ar bob dyn. Trwy anufudd-dod un y gwnaethpwyd pawb yn bechaduriaid. "Y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad." Clefyd ydyw ag sydd wedi cyrhaedd pawb o bob iaith, ymhob gwlad, ac o bob sefyllfa. "O'r groth yr ymddyeithriodd y rhai annuwiol." "Yr oeddym ni oll wrth naturiaeth yn blant digofaint megys eraill." Nid oes neb yn un man nad yw yn bechadur, ac yn haeddu ei ddamnio byth.

2. Mae'n glefyd angeuol. Mae yn lladd; y mae wedi lladd myrddiynau cyn hyn. Ac os na chai dithau, anwyl wrandäwr, feddyginiaeth yn fuan, fe fydd wedi dy ladd dithau. Clefyd sydd yn lladd ydyw. Pe byddai bosibl i ni gael golwg unwaith ar y rhai sydd wedi cael eu lladd ganddo, hwy a ddywedent i ni yn union fod y clefyd yn lladd. "Cyflog pechod yw marwolaeth."

3. Y mae clefydau yn gyffredin yn arogli yn drwm. Bydd rhai weithiau yn gofyn i'w gilydd, 'A fuoch chwi ddim yn edrych am y cleifion?' Yr ateb fyddai, 'Do; ond ni fedrem aros fawr yno. Yr oedd y clefyd yn arogli mor drwm.' Felly clefyd yn arogli yn drwm iawn ydyw y clefyd a gawsom ni. Arogl trwm iawn o'r dechreu ydyw y clefyd ddaeth o Eden. Y mae ambell dŷ a'r teulu oll sydd ynddo yn gorwedd yn y clefyd, heb neb yn y teulu yn ddigon iach i fyned at y Meddyg dros y llall. Nid yw y gŵr ddim yn gallu galw am y Bibl i ddarllen pennod i'r wraig na hwyr na bore, ac i ofyn am iachawdwriaeth iddi; ac nid yw y wraig chwaith ddim yn gallu gwneyd hyny o gymwynas â'r gŵr. Nid oes neb o'r gweision na'r morwynion yn gallu cynnorthwyo. Nid oes neb yn y

teulu âg arwydd fod y clefyd yn ei adael. Y mae y claf yn parhâu yn ddideimlad; heb holi dim am y Meddyg; ac y mae ei syched yn parhâu.

Pa arwyddion ellir gael fod y clefyd yn dechreu troi?

1. Fod y claf yn dechreu teimlo.
2. Yn holi am y meddyg.
3. A'r syched poeth yn lleihâu.

Y mae genym Feddyg i son am dano na fethodd iachâu neb erioed. "Efe a ddichon gwbl iachâu." Y mae llawer o feddygon yn gorfod dywedyd wrth eu cleifion nad oes ganddynt ddim modd i'w gwella; fod eu clefyd yn anfeddyginiaethol; ond ni throdd y Meddyg Da erioed neb ymaith yn y dull hwnw. Ni fethodd iachâu neb erioed. Am feddygon eraill, iachâu y claf y maent dros ychydig amser; y mae eu cleifion yn clafychu eilwaith ac eilwaith, nes o'r diwedd farw; ond iachâu am byth y mae Iesu.

"Er cael ein mynych glwyfo
Gan bechod is y nen,
Iacheir ein dyfnion glwyfau
A dail y bywiol bren."

"Rhagori ar Bethesda Lŷn
Mae ffynnon goch Calfaria fryn;
Heblaw iachâu ein clwyfau,
Hi 'n gylch yn hyfryd wŷn."

"Pa le
Y gwnaf fy noddfa dan y nef
Ond yn ei glwyfau dyfnion ef?
Y bicell gref aeth dan ei fron,
Agorodd ffynnon i'm glanhâu,
'R wy 'n llawenhâu fod lle yn hon."

